# GLYNDWR:

## TYWYSOG CYMRU.

### CHWAREUAWD HANESIOL MEWN TAIR ACT.

*I. GORMES. II. GWRTHRYFEL. III. RHYDDID.*

*(A ysgrifennwyd ar gais Pwyllgor Difyrion Urddiad Tywysog Cymru yng Nghastell Caernarfon, Gorffennaf 1911.)*

GAN

## BERIAH GWYNFE EVANS

(Awdwr "Caradog," "Llewelyn ein Llyw Olaf," "Owain Glyndwr," "Ystori'r Streic," a Chwareuon Cymreig eraill).

GYDA CHERDDORIAETH ARBENNIG

GAN

## ROBERT BRYAN

(Awdwr "Alawon y Celt," "Odlau Cân," "Hen Wlad yr Aifft," "Yn y Dwyrain," "Ebion o'r Eidal ac Arabia," a Libretti i "Traeth y Lafan," "The Coming of Arthur," etc.)



CAERNARFON:

CYHOEDDEDIG GAN YR AWDWR.

ARGRAFFWYD GAN GWMNI Y CYHOEDDWYR CYMREIG (CYF.), SWYDDFA "CYMRU."

—

1911.

# GAIR AT Y CYHOEDD.

O BOSIBL y disgwylir mewn Drama a ysgrifennwyd ar gais Pwyllgor y Difyrion er dathlu Urddiad Tywysog Cymru yng Nghaernarfon, engraifft odidog o geinder llenyddol yn portreadu tlysni barddas ac arucheledd llenyddiaeth gynhennid Cymru fel y'u ceid yn y Canol Oesoedd—a'r rhai hyn ar eu gcreu. Dichon y disgwylia'r myfyriwr hanes, bortread llawn o gysylltiadau personol Glyndwr a'r Brenin a'u cyd-anturiaethau ar y Cyfandir; cysylltiadau cymdeithasol Arwr Cymru a phendefigaeth Lloegr; ei apel drwy Frenin Ffrainc at y Pab i ryddhau yr Eglwys yng Nghymru oddiwrth awdurdod Caergaint ac i adsefydlu Archesgobaeth Ty Ddewi; ei ymdrech i sefydlu Prif Ysgolion i Gymru ar linellau Rhydychen a Chaergrawnt; cychwyniad a datblygiad y Cyngrair rhyngddo a Percy a Mortimer er rhannu Lloegr a Chymru yn dair Tywysogaeth; ei fryd a'i ymdrech i sefydlu Cyngrair rhwng Cymru a'r cenhedloedd eraill a hanent o'r un cyff—rhagredegydd yr Undeb Oll-Geltaidd. Rhaid a fyddai cynnwys y rhai hyn oll, a llawer yn ychwaneg, mewn unrhyw bortread cyflawn o Owen Glyndwr, Arwr Cenedlaethol Cymru.

Eithr arall yw y gwaith llenyddol cain y gellir ei fwynhau ar yr aelwyd gartref neu ei astudio o gwmpas bwrdd y Gymdeithas Lenyddol,—ac arall yr un a fwriedir i'w chwareu yn y cyhoedd. Arall hefyd yw y Ddrama a gynllunir i'w pherfformio mewn Chwareudy yn meddu pob adnoddau celfyddydol, a chan Gwmni sy'n gwneud Chwareu yn alwedigaeth bywyd,—ac arall yr un y gall Cymdeithas neu Gwmni Lleol heb ond yn gydmarol ychydig brofiad, ac yn meddu ar y goreu ddim ond adnoddau prin, ei gosod ar ei llwyfan. Arall eto yw y Chwareu a gyflwynir i'r cyhoedd mewn ystafell lle y mae pob gair a sisielir ar y llwyfan yn glywadwy yn y cyrion,—ac arall yr un a chwareuir yn yr awyr agored fel yng Nghastell Caernarfon, neu mewn adeilad enfawr fel y Pavilion, lle ni all y llais dynol gario ymhell ac yn effeithiol mewn ymgom gyffredin.

Angenrhaid a osodwyd felly ar yr awdwr i gynyrchu gwaith y gellid ei chwareu o dan amgylchiadau ag a wnelai ymson faith, anerchiad hir, neu ymddiddan rhesymegol, yn annoeth, os nad yn amhosibl. Yr oll y gellid cynnyg arno oedd trefnu Drama y gallai unrhyw Gwmni Lleol, gydag ychydig o ofal a dysgyblaeth, ei chwareu, ac o'i chwareu, gyfleu i lygad a chlust y gynulleidfa bortread cywir, mor bell ag y mae yn myned, o fywyd, arferion, a hanes ein cenedl yn nyddiau cynhyrfus Owen Glyndwr. Cywirdeb, symledd, a bywiogrwydd, yn hytrach na cheinder llenyddol, arucheledd areithyddol, neu fanylwch hanesiol—a hyn yn gyplysedig a gofalu fod yr oll yn glywadwy ac yn chwareuadwy—oedd y nod a gadwodd yr awdwr yn bennaf mewn golwg. I ba raddau y llwyddodd, neu y methodd, profiad o'r chwareu ar y llwyfan, ac nid yn y fyfyrgell, a ddengys.

Ond gall ddweyd fod safle a symudiad pob cymeriad ymhob Golygfa, fel y'u danghosir yma, yn ffrwyth astudiaeth fanwl a phrof-

iadol. Penderfynwyd yr oll gyda chynllun o'r llwyfan, a phortread o'r cymeriadau a'u symudiadau ger ei fron. Os dilynir y cyfarwyddiadau manwl a geir ynghorff y gwaith, ni cheir llawer o drafferth i wybod pa fodd a pha bryd i wneud pob symudiad yn effeithiol. Hawlia felly fod *yr oll yn chwareuadwy,* ac na flinir neb gan feithder ymadrodd.

Dymuna yr awdwr ymhellach bwysleisio'r ffaith fod yr hyn a bortreadir yma yn hanesyddol gywir. Ffaith ac nid ffug yw mai cenedl lawenfryd yn dioddef gormes haearnaidd oedd y Cymry; mai ysgolhaig gwych a Marchog urddasol, cyfaill personol Harri Bolingbroke, a gwr yr oedd ei glod dros yr holl Gyfandir, oedd ein Harwr Cenedlaethol Owen Glyndwr; ac mai gwr dysgedig o waed urddasolaf pendefigaeth Lloegr oedd Iolo Goch.

Felly hefyd ffaith yw ddarfod i Jane Glyndwr wrthod llaw Arglwydd Grey, a phriodi Mortimer; i Glyndwr geisio sicrhau aduniad y Cenhedloedd Brutanaidd (neu Geltaidd); iddo freuddwydio am ac amcanu ennill Gwlad Rydd, Addysg Rydd, ac Eglwys Rydd i Genedl y Cymry; iddo gael ei Urddo a'i Goroni yn Dywysog Cymru;—y mae y pethau hyn, a'r ffeithiau hanfodol eraill a gyfleir yn y gwaith presennol, oll erbyn heddyw yn gydnabyddedig fel ffeithiau hanes a brofir gan hen lawysgrifau y cyfnod hwnnw sydd eto ar gael.

Teimla yr awdwr ei fod wedi bod yn hynod o hapus i fwynhau, yn y rhan gerddorol o'r gwaith, gydweithrediad un y mae ei enaid mor fyw a'i glust mor deneu i gyfrinion Ysbryd Cenedlaetholdeb Cymru ag yw Mr. Robert Bryan.

Anrhydeddwyd yr Awdwr hefyd gan Y Brenin, Y Frenhines, a Thywysog Cymru, y rhai a roddasant eu Nawdd Brenhinol i'r perfformiadau, ac a amlygasant barodrwydd i dderbyn copiau o'r gwaith.

Mae yr awdwr yn rhwymedig i'r Arlunydd, Mr. S. Maurice Jones, Caernarfon, am y darluniau a dynnwyd yn arbennig ganddo at glawr a gwyneb-ddalen yr Argraffiad Mawr o'r gwaith hwn.

*Penybryn, Caernarfon, Mai,* 1911.

## GAIR YCHWANEGOL.

Y GWAITH a ddigwyddodd i'm rhan i oedd paratoi cerddoriaeth ar gyfer y Ddrama, ac nid cyfansoddi "drama gerddorol," neu opera ar y testyn. Hyderaf fod y gwaith yn ddigon syml i egluro ei hunan.

Cefais ddwy alaw Gymreig—"Cân y Droell" a'r "Ymdeithgan" yng nghasgliad rhagorol y diweddar Mr. Nicholas Bennett, un o drysorau cerddorol gwerthfawrocaf y genedl.

Rhoed hen alawon Ffrengig i'w canu gan Arglwydd Mortimer ac Arglwydd Monnington, am mai diwylliant Ffrengig, ac nid Seisnig, ydoedd diwylliant urddasolion Lloegr yr oes honno. Addaswyd fy nghyfieithiadau o'r telynegion gwreiddiol i'r Ddrama gan Mr. Beriah Gwynfe Evans.

Caffed pawb a welo, a gano neu a wrandawo'r gwaith wir fwynhad yw fy nymuniad.

ROBERT BRYAN.

*Caernarfon, Mai* 15, 1911.

# PRIF GYMERIADAU.

---

## Y CYMRY.

| | |
|---|---|
| Owen Glyndwr | ..(Pennaeth Cymreig ar y dechreu; Tywysog Cymru yn y diwedd). |
| Iolo Goch .. | ..Bardd y Teulu. |
| Gruffydd .. | ..(Mab Glyndwr, a Chariadfab Gwenfron). |
| Syr Rhys Tewdwr<br>Owen Tewdwr (ei fab)<br>Syr John Scudamore<br>Syr John Hanmer<br>Llewelyn ap Gruffydd<br>Meredith ap Owen | Penaethiaid Cymreig a chyfeillion Glyndwr. |
| Ioan Trefor .. | ..Esgob Llanelwy. (Ar y cyntaf gyda'r Brenin; ar y diwedd gyda Glyndwr). |
| Dewi Daron .. | ..Deon Bangor. |
| Abad Ystrad Fflur | ..Eglwyswr Gwladgarol. |
| Seget .. ..<br>Gethin .. | Myfyrwyr o Rydychen. |
| Rhisiart o Leyn<br>Huwco'r Hwntw | Dau Lafurwr Amaethyddol. |
| Shon yr Ordd .. | ..Gof. |
| Deio .. .. | ..Ei Freintwas. Cariadlanc Sioned. |
| Siemsyn Dafarnwr | ..Cymro Gwladgarol. |

---

## Y SAESON.

| | |
|---|---|
| Y Brenin Harri IV. | ..Brenin Lloegr. |
| Harri (ei fab) .. | ..Tywysog Cymru. |
| Iarll Somerset | ..Un o Arglwyddi Lloegr. |
| Percy Hotspur | .. Eto. |
| Syr Edmund Mortimer.. | Eto (Cariadlanc Jane). |
| Syr Roger Monnington | Eto (Cariadlanc Margaret). |
| Arglwydd Grey o Ruthin | Eto (Gormeswr y Cymry a Gelyn Glyndwr). |
| Cadben Marglee | ..(Prif Gadben Arglwydd Grey). |
| Gascoigne .. | ..(Prif Farnwr Lloegr). |
| Dafydd Gam .. | ..(Cymro Gwrth-Gymreig). |

## BONEDDIGESAU.

ARGLWYDDES GLYNDWR ..(Gwraig Glyndwr).
JANE .. .. ..(Merch Glyndwr).
MARGARET .. ..(Merch Glyndwr).
GWENFRON .. ..(Cyfeilles Jane, a Chariadferch Gruffydd).
SIONED.. .. } (Merched Siemsyn).
MADLEN ..

BONEDDIGESAU, MERCHED, a MORWYNION eraill.

## AMRYW.

Penaethiaid Cymru, Pendefigion Lloegr, Macwyaid, Mynachod, Milwyr, Herodron, Gweision, Cenhadon, &c.

SYLW.—Gellir perfformio'r Ddrama hon gydag unrhyw nifer o bersonau heb fod yn llai na dyweder 20 neu 24. Ni *raid* cael mwy na 16 mewn unrhyw Olygfa, er mai goreu po fwyaf a geir er engraifft yn Ffair Rhuthyn ac yn y Coroniad. Wrth astudio'r gwaith yn fanwl gwelir y gall un person, drwy newid ychydig ar ei wisg, &c., lanw dau neu dri chymeriad gwahanol. Wrth gwrs nid yw hyn yn ddymunol gyda'r *prif* gymeriadau.

## PLAN Y LLWYFAN.

TU OL I'R LLEN YN Y CEFN.

| WINGS. | | | | | | | WINGS. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | | Ea | Eb | Ec | Ed | Ee | |
| | R 3 | | | | | | L 3 |
| | | Da | Db | Dc | Dd | De | |
| | R 2 | Ca | Cb | Cc | Cd | Ce | L 2 |
| | | Ba | Bb | Bc | Bd | Be | |
| | R 1 | | | | | | L 1 |
| | | Aa | Ab | Ac | Ad | Ae | |

Tybiwch fod y llwyfan wedi ei rhannu yn 25 ysgwar fel uchod, Pump ysgwar ar ei hyd (a, b, c, d, e), a Phump ysgwar ar ei thraws (A, B, C, D, E). Os nodir yn y Cyfarwyddiadau fod Cymeriad i sefyll dyweder yn B.a., neu yn E.d., neu yn C.d., &c., rhwydd wrth edrych ar y Plan uchod fydd gwybod pa le y dylai sefyll.

# GLYNDWR, TYWYSOG CYMRU.

---

## ACT I. GORMES.

### Golygfa I. Tir y Croesau.

*Yr Olygfa.—Tir agored. Coed yn y cefn. Llumanbren gyda Baner Glyndwr yn chwyfio.*

*Yr Amser.—Y Bore.*

Cyn codi'r Llen, clywir swn y canu. Y Llen yn codi. **Glyndwr a'i Gwmni, yn cynnwys Gruffydd, Iolo Goch, Llewelyn ap Gruffydd Vychan, Syr Rhys Tewdwr, a'i fab Owain, ac eraill yn dod i fewn—R 2—dan ganu. Oll mewn gwisg hela.**

Glyndwr a'i Gwmni *(yn canu)*

**Rhif 1.—CAN HELA.**

Cydgan i T.T.B.B.

Beriah Gwynfe Evans. Robert Bryan.

Doh C. *mf. Allegretto.*

| | *mf. Allegretto.* | | *dim.* | 𝄐 | *ppp. adlais.* | 𝄐 |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :— |
| Wel | hai! | mae'r helfa ar | droed, | ar | droed, | |
| :s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :— |
| :s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :— |
| Wel | hai! | mae'r helfa ar | droed, | ar | droed, | |
| :s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :— |

1 Gall nifer yr helwyr fod yn fawr neu yn fach yn ol adnoddau a dewisiad y Cwmni. Os bernir yn ddoeth gall tri neu bedwar o fechgyn ieuainc, o 12 i 15 oed, fod yn eu plith; a gall y cyfryw wasanaethu fel macwyaid, neu wychweision i'r pendefigion mewn Golygfeydd eraill, megys er enghraifft yn y Noson Lawen yn Sycharth (Gol. IV.).

*f.* *dim.* *ppp adlais.*

:d' |m' :— :d' |m' :m' :d' |m' :— :— |— :— :d' |m' :— :— |— :—
Wel | hai i hela'n y | coed, y | coed,
:d' |m' :— :d' |m' :m' :d' |m' :— :— |— :— :d' |m' :— :— |— :—

:s |d' :— :s |d' :d' :s |d' :— :— |— :— :s |d' :— :— |— :—
Wel | hai i hela'n y | coed, y | coed,
:d |d' :— :d |d' :d' :d |d' :— :— |— :— :d |d' :— :— |— :—

*f.*

:r' |r' :r' :r' |r' :— :f' |f' :f' :f' |f' :— :f' |m' :m' :m' |r' :r'
Y | carw mawr coch, pen | frith ddaear foch, Y | cadno, y ceinach,
:t |t :t :t |t :— :r' |r' :r' :r' |r' :— :r' |t :t :t |r' :r'

:s |s :s :s |s :— :l |l :l :l |l :— :l |s :s :s |l :l
Y | carw mawr coch, pen | frith ddaear foch, Y | cadno, y ceinach,
:s |s :s :s |s :— :r |r :r :r |r :— :r |m :m :m |f :f

*ff.*

:r' |r' :r' :r' |r' :— :r' |m' :m' :m' |m' :— :m' |f' :f' :f' |fe' :—
a'r | hydd buan droed, Y | carw mawr coch, pen | frith ddaear foch,
:r' |d' :d' :d' |t :— :t |d' :d' :d' |d' :— :d' |d' :d' :d' |d' :—

:l |l :l :l |s :— :s |d' :d' :d' |ta :— :ta |l :l :l |la :—
a'r | hydd buan droed, Y | carw mawr coch, pen | frith ddaear foch,
:f |fe :fe :fe |s :— :s |d' :d' :d' |ta :— :ta |l :l :l |la :—

*dim.* *ppp adlais.*

:fe' |s' :s' :s' |s' :s' :s' |m' :m' :m' |r' :— :— |m' :m' :m' |r' :—
Y | cadno, y ceinach a'r | hydd buan droed, | hydd buan droed,---
:d' |r' :r' :r' |m' :m' :t |d' :d' :d' |t :— :— |d' :d' :d' |t :—

:d' |t :t :t |t :t :s |s :s :s |s :— :— |s :s :s |s :—
Y | cadno, y ceinach a'r | hydd buan droed, | hydd buan droed,—
:la |s :s :s |m :m :m |d :d :d |s, :— :— |d :d :d |s, :—

*f.* *accel. un poco.*

:s |d' :d' :d' |d' :d' :d' |s :s :s |s :s : | : : | :
A | dyma y tywydd, I'r | cwn gael y trywydd,
:s |d' :d' :d' |d' :d' :d' |s :s :s |s :s : | : : | :

*mf.*

:s |d' :d' :d' |d' :d' :d' |s :s :s |s :s :s |d :t, :d |r :d
A | dyma y tywydd, I'r | cwn gael y trywydd, Y | milgi a'r helgi,
:s |d' :d' :d' |d' :d' :d' |s :s :s |s :s :s |d :t, :d |r :d

: | : : | : : | : : | : : | : : | :
: | : : | : : | : : | : : | : : | :

*cres.*

:r |m :r :m |f :m :f |s :fe :s |l :s :l |ta :l :ta |t :l
Byth- | eu-ad a hyddgi, y | milgi a'r helgi, Byth | eu-ad a hyddgi,
:r |m :r :m |f :m :f |s :fe :s |l :s :l |ta :l :ta |t :l

*f.* *dim.* 𝄐 *ppp adlais* 𝄐

:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—
Wel | hai ! mae'r helfa ar | droed, ar | droed,
:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—

:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—
Wel | hai ! mae'r helfa ar | droed, ar | droed,
:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—

s.d.f. E♭. *forte.*

:m | m :m :m | m :ba :se | l :t :d' | t :d' :t | : : | :
A | dyma y tywydd I'r | cwn gael y trywydd, |
:m | m :m :m | m :ba :se | l :se :l | se :l :se | : : | :

*mf.*

:m | m :m :m | m :m :m | m :r :d | m :m :m | m :fe :s | fe :s
A | dyma y tywydd I'r | cwn gael y trywydd, Y | milgi a'r helgi,
:m | m :m :m | m :m :r | d :t, :l, | m :m :m | m :fe :s | fe :s

: | : : | : : | : : | : : | : : | :

: | : : | : : | : : | : : | : : | :

:fe | m :f :m | r :m :r | d :r :d | t, :d :t, | l, :l :se | l :l
Byth- | eu-ad a hyddgi, y | milgi a'r helgi, Byth- | eu-ad a hyddgi,
:fe | m :f :m | r :m :r | d :r :d | t, :d :t, | l, :l :se | l :l

C. t.m.l. *forte.* *dim.* 𝄐 *ppp. adlais.*

:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—
Wel | hai ! i hela'n y | coed, y | coed,
:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—

:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—
Wel | hai ! i hela'n y | coed, y | coed,
:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—

*f.* *dim.* 𝄐 *ppp adlais.* 𝄐

:d' | m' :— :d' | m' :m' :d' | m' :— :— | — :— :d' | m' :— :— | — :—
Wel | hai ! i hela'n y | coed, y | coed,
:d' | m' :— :d' | m' :m' :d' | m' :— :— | — :— :d' | m' :— :— | — :—

:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :—
Wel | hai ! i hela'n y | coed, y | coed,
:d | d' :— :d | d' :d' :d | d' :— :— | — :— :d | d' :— :— | — :—

*ff.* 𝄐 *ppp. adlais.* 𝄐

:m' | s' :— :m' | s' :s' :m' | s' :— :— | — :— :m' | s' :— :— | — :— :—
Wel | hai ! i hela'n y | coed, y | coed.
:d' | m' :— :d' | m' :m' :d' | m' :— :— | — :— :d' | m' :— :— | — :— :—

:s | d' :— :s | d' :d' :s | d' :— :— | — :— :s | d' :— :— | — :— :—
Wel | hai ! i hela'n y | coed, y | coed.
:d | d' :— :d | d' :d' :d | d' :— :— | — :— :d | d' :— :— | — :— :—

GLYNDWR *(wrth Llewelyn ap Gruffydd)*.—Dyma Dir y Croesau y soniais am dano neithiwr. Tir yw a ddylasai fod yn ffrwythlon o ran ei fod wedi ei fwydo â gwaed dewrion dwy wlad gyfa.

LLYWELYN AP GRUFFYDD.—Pob un at ei chwaeth, gefnder mwyn. Mae tir Caio'n ddigon gwael, ond mae'n well na hwn o gryn dipyn.

IOLO GOCH.—Gwir bob gair! Chydig o ffrwyth welais i arno, nac o hono erioed, ond anghydfod. Ac o hwnnw cawn ddigon—a mwy.

SYR RHYS TEWDWR.—Taw ditha, Iolo. Mi gefaist ti dy ran fel gwr cyfraith pan fu'r achos gerbron y llys goelia i. Welis i 'run twrnai 'rioed na fynnai dynnu pres o groen dyn cyn methu.

IOLO.—Na! Choelia i fawr! Mi faswn i'n llwgu fel twrna—mi rydw i'n rhy onast, wyddost!

GRUFFYDD AP GLYNDWR.—Mi 'rwyt wedi pesgu rywle a rhywsut fodd bynnag!

IOLO.—Ydw'n tad! Ond ar y delyn, ac ar fwyd da bwrdd yr Arglwyddes, dy fam, wel di. 'Does le fel Sycharth na gwraig fel dy fam i ofalu am angen corff prydydd.

Amla lle nid er ymliw
Penhwyaid a gwyniaid gwiw;
A'i dri bwrdd, a'i adar byw
Paunod, cryhyrod hoewryw.

SYR RHYS.—Taw da'ch ditha a'th brydyddu. Rhaid dy fod yn breuddwydio mewn cynghanedd. Ond dywed imi, Glyndwr. Mi gostiodd y gyfraith yn ddrud oni do?

GLYNDWR.—Gwell colli arian na gwaed—ond mi golla'm gwaed cyn colli'm tir.

LLYWELYN AP GR.—Prin 'rwy'n gweld y lle yn werth ymladd am dano mewn na llys barn na chad waedlyd.

GRUFFYDD AP GLYNDWR.—Nid gwerth y tir, f'ewyrth, ond yr egwyddor odditan y cweryl sy bwysig.

IOLO.—Be sy'n iawn sy o bwys i ni!

GLYNDWR.—Cofia dithau hynny, Gruff. Mae'r Sais, a'i drais, a'i draha yn Grey o'r Castell Coch yn bygwth

helynt newydd. Mi gefais air yn ddistaw y gallem ddisgwyl rhuthr ar y Croesau eto.

IOLO.—Twt! lol wirion! Llosgodd Grey ei fysedd y tro dweutha. Fe losgir ei esgyrn os daw eto.

Pwy a ostwng Powysdir
Tra bo cyfraith a gwaith gwir!

GLYNDWR.—Ie, tra bo cyfraith a gwaith gwir. Ond chydig geir o rheiny tra b'o Harri ar ei orsedd a Grey o Ruthin yn ei lawes.

IOLO.—Onid wyt tithau cyn belled yn llawes y brenin ag ydyw Grey? Neu mi ddylit fod, a thithau wedi cynnal ei freichiau mewn gwledydd pell. Mi clywais i o yn dy frolio am yr hyn a wnest yn y twrnameint trosto yn Calais a Thunis, a'r brwydro ar lannau'r Baltic yn erbyn y Germaniaid, ac ar y Danaw fawr yng ngwlad y Twrc. A be wnai Grey, greadur truan, mewn lleoedd felly, amgen beichio fel llo neu ffoi am ei hoedl!

GLYNDWR.—Mae pethau wedi newid er hynny, Iolo bach! Cof byr yw cof cymwynas, ond hir yw atgo digter.

OLL.—Wele hai am yr helfa drwy'r coed![2]

*(Ant allan oll L 1.)*

CADBEN MARGLEE, a nifer o FILWYR De Grey *yn dod i fewn. L 3.*

CADBEN MARGLEE.—'Rwan lads! Mae gweled y Ddraig Goch yn chwyfio ar dir y Croesau yn anfri ar ein Harglwydd Grey. I lawr ynte â baner y bradwr, ac i fyny â lluman Arglwydd Grey.[3]

(Y MILWYR *yn gwneud hynny).*

MILWR 1.—Pe caem Glyndwr o dan draed mor rhwydd a chael ei faner, buasai'n rhywbeth.

[2] Gall y cwmni wrth fyned allan ganu y llinell olaf o'r Gan Hela fel o'r blaen. Yna ennyd fer o aros cyn y daw Cadben Marglee i'r golwg.

[3] Yn taro ei law ar y llumanbren.

CADBEN MARGLEE.—Y faner gyntaf, Glyndwr wedyn. Mi gawn y ddau dan draed. Tydy Cymro dda i ddim ond i wasanaethu ei feistr, y Sais.

*(Swn canu i'w glywed yn y coed ac yn agoshau).*

CADBEN MARGLEE *(yn troi at ei ddynion).*—Ust, lads! 'Rwan am hwyl! Ymguddiwn!

*(Ciliant oll i gysgod y coed yn y cefn.* GWENFRON a JANE GLYNDWR *yn dod i fewn—R 3—dan ganu).*

GWENFRON a JANE GLYNDWR *(yn canu).*

**Rhif 2.** –DEUAWD.

BERIAH GWYNFE EVANS. ROBERT BRYAN.

DOH F. *Allegretto.*

| Dau fesur Offerynol. | JANE : : | : : | : :m.,d
Fry,
Twi,
*mp*
:s, | d :r :m.,f | m :s :m.,d

GWENFRON: (1) Clywch gân yr e - hed-ydd, Fry,
(2) Cus - an - u mae'r ad - ar, Twi,

| r :s :l.,t | l.fe:s : | : : | : :m.,d
fry; Hai a ho; dan
twi; Hai a ho; y
| t, :s, :l,.,t, | l, :s, :l,.t, | d :r :m.,f | m :s :m.,d
fry; Hai a ho; A thel-yn yw'r goedwig, dan
twi; Hai a ho; A'r brig-au gus - an - a y

| r :s.l :s.,f | m :— : | : : | : :m.,d
aw-el y fro, Hai a
gwynt ar ei dro, Hai a
| t, :s, :t,.,r | d :— :s, | d :r :m.,f | m :s :m.,d
aw-el y fro, Mae'r llanc yn - tau'n can - u, Hai a
gwynt ar ei dro, Mae'r llanc yn - tau'n dys - gu, Hai a

| r :s :l.,t | l.fe:s : | : : | : :m.,d
ho, tra la la Wel
ho, tra la la Hi
| t, :s, :l,.,t, | l, :s, :l,.t, | d :r :m.,f | m :s :m.,d
ho, tra la la, A min - nau pan glyw-af, Wel
ho, tra la la, Pan ddaw i'm cy - far - fod Mi

*mf*

| r :s.l :s.,f | m :— :r | m.r :m.f :s.l | s :m :d.,m |

can-u a | wna Ie, | can - u a | wna, Hai a

wyr beth a | wna, Hi | wyr beth a | wna, Hai a

| $t_1$ :$s_1$ :$t_1$.,r | d :— :$t_1$ | d.$t_1$ :d.r :m.f | m :d :d.,m |

can-u a wnaf, Ie, can - u a wnaf, Hai a

wn beth a wna, Mi wn beth a wna, Hai a

| r :l :r.,m | r :s :f | m.r :m.f :s.l | s :m :r.,m |

ho, tra la | la, A | Gwenfron pan | glyw-a, Wel

ho, tra la | la, Pan | ddaw i'w chy - | far - fod. Hi

| r :$l_1$ :r.,m | r :$s_1$ :$l_1$.$t_1$ | d.$t_1$ :d.r :m.f | m :d :r.,m |

ho, tra la la, A min - nau pan glywaf, Wel

ho, tra la la, Pan ddaw i'm cy - far - fod, Mi

*rit* *a tempo primo.* *mf.*

| r :t :l.,t | s :— : | : : | : :m.,d |

can - u a | wna, | | Hai a

wyr beth a | wna, *mf.* | | Hai a

| r :s :fe | s :— :$s_1$ | d :r :m.,f | m :s :m.,d |

can-u a wnaf, Mae'r llanc yn - tau'n can - u, Hai a

wn beth a wna, Mae'r l'anc yn - tau'n dys - gu Hai a

| r :s :l.,t | l.$d^1$ :t.l :s.f | m :f :s.,l | s :$d^1$ :m.,d |

ho, tra la | la, A | Gwenfron pan | glyw - a Wel

ho, tra la | la, Pan | ddaw i'w chy - | far - fod Hi

| $t_1$ :$s_1$ :$l_1$.,$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ :$l_1$.$t_1$ | d :r :m.,f | m :m :m.,d |

ho, tra la la, A min-nau pan glyw - af Wel

ho, tra la la, Pan ddaw i'm cy - far - fod Mi

| r :s :s.l | t.l :s.f :m.,d | r :s :t.,s | $d^1$ :— :— ||

can - u a | wna, wel | can - u. a | wna.

wyr beth a | wna, hi | wyr beth a | wna.

| r :s :s.fe | s.f :m.r :m.,d | r :s :f | m :— :— ||

can - u a wnaf, wel can - u a wnaf.

wn beth a wna, mi wn beth a wna.

(MARGLEE *yn dyfod yn llechwraidd y tu ol i* GWENFRON, *ymaflyd ynddi a'i chusanu).*

GWENFRON a JANE *yn ysgrechian.*

MARGLEE *(yn dynwared Gwenfron).*
"Pan ddaw i'm cyfarfod, mi wn beth a wna!"

(Y MILWYR *oll yn chwerthin wrth ddod allan o'r coed ac yn amgylchu'r merched).*

MILWR 2.—Ar f'einioes i dyna waith da!

MILWR 3.—Ar fy ngair, Cadben, welis i rioed gusan yn cael ei ennill yn well!

MARGLEE *(yn canu eto).*
"Pan ddof i'th gyfarfod, mi wn beth a wnaf!"

GWENFRON.—I'm cyfarfod yn wir! Yr adyn hyll a'r llabwst meddw!

MARGLEE.—Be ddeydist di? A wyddost ti pwy ydwyf?

GWENFRON.—Gwn yn iawn. Llyfryn mewn gwisg milwr, yn ddewr i ymosod ar ferch ond na feiddia wynebu dyn!

MARGLEE.—A feiddi di!

GWENFRON.—Adyn iselradd mewn gwisg boneddwr.

MARGLEE.—Mi dy ddysgaf, y feiden dafodrydd!

GWENFRON.—Y lleidr sut ag ydwyt, yn dwyn yr hyn ni allet byth ei ennill!

MARGLEE.—Myn Mair! Cei weld beth a fedraf ddwyn. 'Rwan lads! Ymeflwch yn y ddwy, ac awn a hwynt lle y cant ddysgu caru Saeson![4]

(MILWYR *yn ceisio ymaflyd yn* JANE. *Hithau yn tynnu dagr allan).*

JANE.—Caru Saeson yn wir! Y cyntaf un o honoch a esyd law i'm cyffwrdd, a ga serch fy nagr yn ei galon os myn!

MARGLEE *(yn dal braich* GWENFRON *ond yn troi i edrych ar y milwyr).*—Y llyfriaid! A oes arnoch ofn merch! Ymeflwch ynddi!

(Y MILWYR *yn ceisio ymaflyd yn* JANE, *hithau yn eu cadw ymaith a'i dagr.* GWENFRON *yn rhoi slap ar wyneb* MARGLEE, *yn rhyddau ei hunan, ac yn ceisio ffoi. Yntau yn rhedeg ar ei hol a'i dal drachefn.*

[4] O hyn i ddiwedd yr Olygfa dylasai'r holl symudiadau fod yn gyflym iawn.

GRUFFYDD GLYNDWR *yn rhuthro i fewn, yn rhoi dyrnod i* MARGLEE *nes ei daro i'r llawr.* IOLO GOCH *yn rhuthro at ochr* JANE *gan ysgubo'r* MILWYR *i'r dde a'r aswy.)*

MARGLEE *(yn codi, gan dynnu ei gledd ac ymosod ar* GRUFFYDD).—Nid ydynt ond dau! Lladdwch hwynt, lads!

IOLO *(yn noethi ei fraich).*—Cyfra'n gywir y ffwl! Mae yma ugain, gan fod un Cymro yn werth deg Sais, a dwrn Cymro'n well nag arf estron! *(Yn ymosod).*

MARGLEE a GRUFF. *yn ymladd gledd yng nghledd.* GWENFRON, *yn tynnu ei mantell a'i daflu i wyneb* MARGLEE. GLYNDWR *a'r gweddill o'r cwmni yn dyfod i fewn. L 1).*

GLYNDWR.—Pa beth yw hyn? Ha! Lifre Grey[5] o Ruthyn! Pam y troseddwch ar dir Glyndwr?

MARGLEE *(yn gweinio ei gledd).*—Mae hawl gan weision Grey ar y tir lle chwyfia lluman Grey.[6]

GLYNDWR.—Myn fy einioes! Oni bae fod gennyf fwy o barch i mi fy hun nag i ti a'th feistr, mi dy grogwn y funud hon, tydi a'th wyr, am y sarhad a wnest. Pa le mae fy manner?

MILWR I *(yn cerdded yn gloff tuag ato).*—Dyma hi, fy Arglwydd.

GLYNDWR.—Yn ol a hi i'w lle! I lawr â lluman Grey!

*(*Y CYMRY *yn agoshau i wneud—ond* GLYNDWR *yn eu rhwystro).*

GLYNDWR.—Na! Ca'r dwylaw a daflasant laid ar luman Cymru ei olchi eto i ffwrdd! Chwi filwyr Grey, â'ch dwylaw eich hun gwnewch hyn!

*(*Y MILWYR*—ar ol edrych ar* MARGLEE, *yn tynnu baner Grey i lawr, gan godi'r Ddraig Goch drachefn yn ei lle).*

GLYNDWR *(wrth Marglee).*—Yn ol a chwi i'ch ffau! A dywed wrth dy feistr Grey os beiddia ef, neu ti, neu neb

[5] Yn cyfeirio ei fys at lifre Marglee.
[6] Yn cyfeirio at y faner ar y llumanbren.

o'i wyr, roi troed ar dir y Croesau mwy heb ganiatad Glyndwr, mai'r crogbren a fydd rhan y neb a wna.

IOLO.—Da iawn, Glyndwr. Ond un peth a anghofiaist.

GLYNDWR.—Pa beth yw hynny?

IOLO.—Mae'r fanner yn ei lle—ond ble mae'r parch? Anrhydedd yw i Sais gael cyfarch y Ddraig!

SYR RHYS, A'R CYMRY OLL.—Gwir! Gwir!

(Y SAESON *yn cyfarch y* DDRAIG GOCH, *ac yna yn myned allan —L* 3).

GLYNDWR.—Wel, dyna ddechreu'r storm.

*(Ant allan*[7] *R* 2. *Llen).*

(NODIAD. Aeth Arglwydd Grey a'i gŵyn i Lundain at y Brenin Harri. Gwysiwyd Glyndwr yno i'r Llys i Westminster. Ceir y prawf yn yr Olygfa nesaf).

[7] Os dewisir gall y Cymry ganu'r tair llinell olaf o'r **Gân Hela** wrth fyned allan.

## ACT I. GOLYGFA II. YN WESTMINSTER.

*Yr Olygfa: Llys y Brenin Harri IV. Gall yr olygfa fod naill ai'n Ystafell ym Mhalas Westminster, neu'n Lawnt rhwng y Palas a'r Afon.*

*Yr Amser: Yn tynnu tua hanner dydd.*

Yn gynulledig: SYR EDMUND MORTIMER; PERCY HOTSPUR; IARLL SOMERSET; y PRIF FARNWR GASCOIGNE; DAFYDD GAM; ac eraill. *Ymgomiant bob yn ddau neu dri.*

*Yn dod i fewn.—L 2*—IOAN TREVOR (Esgob Llanelwy); a'r TYWYSOG HARRI O FYNWY (mab y Brenin), fraich ym mraich, yn ymgomio'n gariadus.

Y TYWYSOG HARRI *(wrth yr Esgob)*.—Rwy'n mawr obeithio nad yw De Grey wedi dylanwadu ar fy nhad yn erbyn Syr Owen de Glendore.

YR ESGOB TREVOR.—Mae gan eich Gras syniad uchel am Glyndwr?

Y TYWYSOG.—I mi y patrwn yw o Farchog dewr a chywir.

YR ESGOB.—Ai nid felly Arglwydd Grey?

Y TYWYSOG.—Na! Grey, rhyw gadnaw cyfrwys yw. Ust! Dacw de Glendore!

*(Yn dyfod i fewn—R 2*—GLYNDWR, IOLO GOCH, a SYR RHYS TEWDWR*)*.

Y TYWYSOG *(yn croesi i gyfarfod Glyndwr)*.—Croesaw i Westminster, Syr Owen de Glendore!

GLYNDWR *(yn moesgrymu)*.—Diolch i'ch Huchelder Brenhinol. Mae eich croesaw yn anrhydedd a'ch cwmni yn ddywenydd bob amser i Gymro tlawd fel myfi!

Y TYWYSOG *(yn chwerthin)*.—Cymro tlawd aie? Dywedir fod Glyndwr yn wr cyfoethog, a gwychder Sycharth yn rhagori ar eiddo Westminster! Pa beth a ddywed Iorwerth Llwyd? *(yn troi at Iolo)*.

IOLO GOCH *(yn moesgrymu)*.—Nid Iorwerth Llwyd ond Iolo Goch, os gwel eich Gras yn dda. Llwyd oeddwn i tra'n byw yn Lloegr. Yn Sycharth daethum i yn goch!

Y TYWYSOG *(yn chwerthin)*.—Ie! Anghofiais fod y cyfreithiwr Seisnig, mab Iarlles Lincoln, wedi ymgolli ym Mardd Teulu Sycharth. Ond pa beth a ddywedi di, pa un bynnag ai fel cyfreithiwr ai fel bardd, am dlodi'r Cymro hwn wrth ochr cyfoeth Llunden?

IOLO.—Ni thal i mi, eich Gras, ddweyd dim am wychder Llunden, ond am Sycharth gallaf ddweyd:—

Anfynych iawn fu yno
Weled na chlicied na chlo;
Na gwall, na newyn, na gwarth,
Na syched fyth yn Sycharth!

Y TYWYSOG *(yn chwerthin)*.—Ie! Mi goeliaf mai lle i dorri syched sy bwysig i'r bardd! Gair yn eich clust, Syr Owen!

(Y TYWYSOG *yn ymaflyd ym mraich* GLYNDWR *a'i arwain o'r neilldu i ymddiddan.* IOLO *wrth droi ymaith yn ysgwyddo* DAFYDD GAM).

DAFYDD GAM *(yn ffyrnig)*.—Y llabwst lletwith! Paham nad edrychi i ble 'rwyt ti'n mynd, y Cymro trwsgl diddysg!

IOLO.—Llabwst, a thrwsgl, a diddysg dy hun! Ac os Cymro wyf, 'rwy'n well Cymro, a gwell gwr, ac o ran hynny yn well Sais hefyd, tae raid, na'ch di a'th lygad cam, a'th dafod sy'n barotach na'th gledd!

DAFYDD GAM.—Cei brofi llymder fy nghledd bryd y mynni, a'm tafod pan y mynnaf fi!

IOLO.—Oes amser gwell na rwan, dwêd? *(yn ymaflyd yn nwrn ei gledd)*.

DAFYDD GAM.—Purion, was. Parod wyf! *(yn tynnu ei gledd allan)*.

(PERCY HOTSPUR *yn ymaflyd ym mraich* GAM. SYR RHYS *ym mraich* IOLO).

PERCY HOTSPUR.—Da gennyf weled chwareu cledd, ond nid yn llys y Brenin.

SYR RHYS.—Paid a bod yn wirion, Iolo. Blin fasa gen i fynd a'th gorff adra i Gymru gan adael dy ben uwch Porth Llunden!

IOLO *(yn teimlo'i ben â'i law)*.—Ie! Mae'n siwtio'n well lle mae o, 'rwy'n coelio. Ond caf gyfle eto ar Ddafydd Gam! *(yn troi ato)*.

DAFYDD GAM *(â'i law ar ddwrn ei gledd)*.—Gore po gyntaf gen i i'r cyfle ddod!

HOTSPUR *(yn chwerthin)*.—A yw'r Cymry oll mor barod i gweryla ag yw'r penboethiaid hyn, Syr Rhys?

SYR RHYS.—Ust! Dyma'r Brenin!

HOTSPUR.—Ie, a'i spaniel bach gydag ef.

*(Yn dyfod i fewn—L 3—y* BRENIN HARRI, *a'i law ar ysgwydd* ARGLWYDD GREY. *Pawb yn moesgrymu.)*

Y BRENIN HARRI.[1]—Arglwyddi Lloegr! Gwysiais chwi i'r llys i glywed achos Arglwydd Grey yn erbyn Syr Owen de Glendore. Ein doeth Brif Farnwr Gascoigne! Y chwi raid ddweyd sut saif y gyfraith o'r naill du a'r llall. Fy Arglwydd Grey, a ydych chwi'n barod i wynebu Syr Owen de Glendore?

ARGLWYDD GREY *(yn moesgrymu)*.—Mor barod ag yw'r ci i ddod i wyneb ei ysglyfaeth.

GLYNDWR.—Da gwnaeth yr Arglwydd Grey i alw'i hun yn gi, canys hynny yw, a hynny a fu erioed. Ond, p'run a fydd Glyndwr yn 'sglyfaeth iddo sy'n gwestiwn arall!

Y TYWYSOG.—Ie'n bwyllog, f'Arglwydd Grey! Mae parch i lys dy deyrn, heb son am glod Glyndwr fel un o brif farchogion dewra'i oes, yn gwahardd i ti ddweyd iddo gael ei alw yma i'w hela gennyt ti na'r un ci arall.[2]

Y BRENIN.—Fy mab! Gwnaf fi amddiffyn fy anrhydedd i a'm llys pan welaf raid! Ymlaen, fy Arglwydd Grey!

ARGL. GREY.—Fy Arglwydd Frenin. Parch iti yn unig a wnaeth imi ymatal pan gododd y bocsachwr hwn ei lais mor groch yngwydd ei well.

[1] Os mai mewn ystafell y bydd y Llys, dylai'r Brenin esgyn i'w Orsedd. Os ar y Lawnt, gall pawb sefyll, gan adael y Brenin yn y canol a lle clir o'i gwmpas.

[2] Yr Arglwyddi oll yn amlygu cymeradwyaeth mewn gwahanol foddau, ond yn ddistaw. De Grey yn cnoi ei wefus, cau ei ddwrn.

GLYNDWR.—Ei well! P'le gwelir gwell o waed neu fonedd na'r sawl a olrheinia linach glir ei waed o Dywysogion Cymru?

ARGL. GREY.—Tywysogion Cymru'n wir! Tywysogion geifr!

GLYNDWR *(yn ffyrnig)*.—Myn bedd fy nhad, cei lyncu'th air dy hun neu'm cleddyf i! Rhof her iti! A dyna'm maneg i lawr! *(Yn taflu ei faneg wrth draed Grey)*.

Y BRENIN.—Beth! A feiddi di roi her i neb ym mhresenoldeb y brenin yn ei lys?

GLYNDWR.—Nid myfi yw'r cyntaf a wnaeth hynny.

Y BRENIN *(yn codi ar ei draed)*.—Beth a ddwedaist ti? Wyt ti'n dannod imi yr hyn a wnes flynyddoedd maith yn ol? *(Yn hanner tynnu ei gledd o'r wain)*.

(GLYNDWR, *yntau yn ymaflyd yn nwrn ei gledd.)*

YR ESGOB *(yn ymaflyd ym mraich Glyndwr)*.—Atal dy dafod, gyfaill mwyn, er mwyn dy wlad!

Y TYWYSOG *(â'i law ar fraich ei dad)*.—Fy Nhad!

Y BRENIN *(yn ysgwyd llaw ei fab ymaith, yna'n eistedd)*.—Ymlaen, De Grey!

ARGL GREY.—Dymunaf ofyn cwestiwn teg i'r gwr difoes a saif mor haerllug yma o flaen ei deyrn. *(Yn moesgrymu i'r Brenin)*.

Y BRENIN.—Dos yn dy flaen, De Grey!

ARGL. GREY *(yn troi at Glyndwr)*.—Ai Cymro ynte Sais wyt ti?

GLYNDWR.—Ni wedais i erioed ac ni wadaf byth fy ngwlad, fy iaith, na'm cenedl. Yn Gymro y'm ganed i, ac yn Gymro y'm cleddir, pan welo Duw yn dda.

ARGL. GREY.—Ni fynnet felly hawlio bod yn Sais?

GLYNDWR.—Pa beth wyt ti, De Grey?

ARGL. GREY.—Sais ydwyf fi o waed a chalon.

GLYNDWR.—Wel dyna ddigon! Os wyt ti'n Sais, a thra bo Saeson yn ymfalchio'th fod yn Sais, ni allaf, gyda hunan barch, fyth chwennych hawlio fy mod *i* yn Sais.

ARGL. GREY.—Wel, felly yn fyr. 'Rwyf fi yn hawlio'r Croesau ar fy llw, fel Sais. Syr Owen, yntau hawlia'r Croesau ar ei lw fel Cymro. Gwnaed hynny'n hollol glir. 'Nol deddfau Lloegr ni all amheuaeth fod. Ni ellir derbyn llw'r un Cymro byth yn erbyn llw Sais.

Y BRENIN.—Fy Arglwydd Farnwr, a yw De Grey yn iawn?

Y BARNWR.—Er cywilydd i gyfreithiau Lloegr, felly y mae. Mae'n rhaid i lw y Sais orbwyso eiddo'r Cymro ymhob llys drwy'r wlad.

Y TYWYSOG.—Fy Arglwydd Frenin! Na foed i ni lychwino enw'n gwlad drwy bwyso ar lythyren cyfraith ffol, anghyfiawn, os yw honno'n bod.

Y BARNWR.—Mae hi yn bod ar lyfr deddfau Lloegr heddyw!

Y TYWYSOG.—Wel, cywilydd i lyfr deddfau Lloegr, ynte, ddwedaf fi. *(Yn troi ymaith).*

*(MORTIMER a HOTSPUR yn ymddiddan tra'r Tywysog yn apelio at y Barnwr. MORTIMER yn troi at y Brenin.)*

MORTIMER.—Fy Arglwydd Frenin, 'rwyf finnau'n dweyd mai cywilydd yw i ni fod y fath ddeddf yn bod. *(Yn troi at Grey)* A chywilydd mwy i'r neb a fanteisia, er ei les ei hun, ar gyfraith mor anheg. *(Yn troi at Gascoigne)* Ond, f'Arglwydd Farnwr, nid oes raid er hyn ddyfarnu'n erbyn De Glendore.

ARGL. GREY *(yn wawdlyd)*.—A yw Syr Edmund Mortimer yntau'n troi yn dwrnai?

MORTIMER.—Na, nid felly chwaith, ond erys Mortimer fel cynt yn foneddwr syml, yn parchu ei wlad a'i chlod. 'Rwy'n deall fod y Barnwr doeth yn gwrthod llw Syr Owen de Glendore fel Cymro?

Y BARNWR.—Ie. Dyna'r ddeddf.

MORTIMER.—Ond er mai Cymro yw Syr Owen de Glendore, mae ef yn fwy na Chymro, am ei fod yn un o bendefigion Lloegr. Ac er na all y Barnwr dderbyn llw y Cymro, yn sicr ni all wrthod llw yr un pendefig?

YR ARGLWYDDI.—Clywch! Clywch!

IOLO.—Ie, dyna gyfraith dda ond rheswm gwael!

Y BARNWR.—Gwir iawn, Syr Edmund Mortimer. Gall hawlio rhoi ei lw fel un o bendefigion Lloegr.

Y BRENIN.—Aed y prawf felly ymlaen. Syr Owen de Glendore, pa beth a ddywedi di?

GLYNDWR.—Fy Arglwydd Frenin. Mi ddeuthym yma i geisio'r hyn oedd gyfiawn imi fel dyn, a pherchen tir. Dim mwy na llai na hynny. Gwrthodwyd hyn i mi, nid am nad oedd fy hawl yn deg a chyfiawn, ond am fy mod yn Gymro. Cymhellir fi i'w geisio 'nawr fel Sais. Ond os gwrthodir cyfiawnder i mi fel Cymro, ni fyn olynydd syth y Brenin Arthur Fawr ei gael trwy ddweyd ei fod yn Sais! Na! Pe bai'r Croesau'n Gymru, a phe bai Cymru'n fyd! Ond gwae i'r wlad a wnelo gam mewn llys! A gwae i'r teyrn a wyro farn ar sedd!

Y BRENIN *(gydag urddas)*.—Adgofiaist fi iti ymladd wrth fy ystlys gynt mewn cad; gwna'r atgo hwnnw imi anghofio'r geiriau gwyllt a lefarwyd heddyw gennyt ger fy mron mewn llys.

ARGL. GREY.—Ond nid anghofiaf fi!

GLYNDWR *(yn troi arno)*.—Tydi! Y gwron gwych sy'n llechu'n nghysgod teyrn. Gwel fy maneg! Mae honno eto ar lawr! Os wyt ti'n ddyn, ti wyddost beth i'w wneud! *(Yn myned allan—R 2—yn cael ei ganlyn gan Syr Rhys)*.

ARGL. GREY.—Apelio 'rwyf am ddedfryd o fy mhlaid.

MORTIMER.—Apeliaf finnau, er mwyn anrhydedd Lloegr, am i'r achos hwn gael gwrandawiad llawn a theg ar ffeithiau gwir, ac nid ei benderfynu ar lythyren deddf.

ARGL. GREY.—Mae deddf yn ddeddf er hyn i gyd, ac ar y ddeddf, a thrwy y ddeddf, 'rwyf eto'n hawlio'r tir.

YR ESGOB.—Fy Arglwydd Frenin! Cyn it roi dy air a wnei di wrando arnaf fi? 'Rwyf finnau'n Gymro. Gwn beth yw fy ngwlad. Gwn rywbeth am y gorthrwm a gafodd hi a'i phlant. Gwn am yr ysbryd a'i meddianna hi. Gwn am allu a dylanwad Owen Glyndwr. Gwn mai

gwaith hawdd a fyddai iddo gynneu tân a ledai'n chwyrn o'r De i'r Gogledd, o Gaergybi i Gaerdydd. Ac er mwyn heddwch gwlad apelio 'rwyf na fydded i ti gynhyrfu pob ryw ysbryd drwg trwy roi dyfarniad yn yr achos hwn ar sail deddf mor anghyfiawn—deddf sy'n sarhad ar degwch Lloegr ac ar hunanbarch pob Cymro!

Y BRENIN.—Fy Arglwydd Esgob! Mae dy wisg a'th swydd yn esgus dros i ti ddadleu heddwch yn fy llys. Ond nid yw bygwth Cymru arnaf, fel y gwnei, yn debyg o fy nhroi o'i phlaid. Ac, wedi'r cwbl, deddf yw deddf, a rhaid i'r neb a drosedda hon, ddwyn ei chosb. Ac yn ol deddf y tir, fel y'i dehonglwyd yma'n glir, nid oes un llw yn erbyn hawl De Grey. Rhaid i mi felly gyhoeddi fod tir y Croesau yn eiddo Arglwydd Grey.

IOLO *(yn troi ymaith)*.—Caiff fwy o groesau nag a ga o dir, os wyf yn adnabod Glyndwr ac ysbryd Cymru!

*(Llen yn syrthio.)*

NODIAD. Ar ol y ffugbrawf uchod, danfonodd y Brenin wŷs i Glyndwr i ddod a'i wyr i'w gyfarfod ef yn Lichfield, fel y cynorthwyent fyddin Lloegr yn erbyn yr Alban. Cadwodd Arglwydd Grey y wŷs yn ol tan yn rhy ddiweddar i Glyndwr ufyddhau iddi; yna hysbysodd y Brenin a'r Barwniaid fod Glyndwr wedi gwrthod dod. Cyhoeddwyd Glyndwr yn herrwr. Gorchymynnodd y Brenin Arglwydd Grey i gymeryd Glyndwr yn garcharor trwy ddichell os na fedrai mewn ffordd arall. Dengys y ddwy olygfa nesaf y canlyniad o hynny.

### ACT I. GOLYGFA III. GER SYCHARTH.

*Yr Olygfa. Llwybr drwy'r coed.*

*Yr Amser. Hwyr brydnawn.*

(*Yn dyfod i fewn*—*R* 1—GLYNDWR *a* IOLO GOCH).

IOLO.—A wahoddaist ti De Grey i Sycharth heno?

GLYNDWR.—Nid ei wahodd ychwaith. Rhoi caniatad a wnes.

IOLO.—'Rwy'n gwel'd. Ond ni wna galw bran yn aderyn du ei gwneud i byncio yn lle crawcian.

GLYNDWR.—Pa beth allaswn wneud? Daeth llythyr oddiwrth Grey yn gofyn a gai ef a Mortimer ddod i'm gweled yma. Atebais y caffai pe deuai heb osgordd arfog rhag peri cweryl. Atebodd na ddeuai neb ond Syr Edmund Mortimer gydag ef.

IOLO.—Hm! Mae Mortimer yn onest, er ei fod yn Sais. Ond lleidr a chadnaw yw De Grey. Ac mae ein dynion oll ymhell o Sycharth heno pe tae taro'n bod.

GLYNDWR.—Rhy ofnus wyt. 'Rwy'n credu fod yn edifar gan y Brenin am yr hyn a wnaeth, a bod De Grey yn dod i wneuthur heddwch.

IOLO (*yn wawdlyd*).—Ydyw, yn siwr iawn i ti, Glyndwr! Gwneud heddwch rhwng Harri a thithau fel y gwnaeth y cadnaw rhwng y blaidd a'r ddafad ystalwm.

GLYNDWR (*yn chwerthin*).—'Rwyt ti yn ddrwgdybus o hyd, Iolo bach.

IOLO.—Gwell bod yn ddrwgdybus heno, na bod yn ddrwgsawrus yngharchar yfory. Ond dos i Sycharth. Arhosaf finnau yn y coed.

GLYNDWR.—Ac os cysgi?

IOLO.—Wel, cysgaf fel ci'r cigydd—gydag un llygad yn agored!

(*Ant allan.* L 1.)

(*Yn dyfod i fewn*—R 1—ARGLWYDD GREY *a* SYR EDMWND MORTIMER.)

ARGL. GREY.—Ac nid yw'r cynllun yn gymeradwy gennyt ti?

MORTIMER.—Nac ydyw. Gwell gennyf frwydro teg na chynllwyn ffals fel hwn.

ARGL. GREY.—A beth am orchymyn dy gefnder, y Brenin?

MORTIMER.—Hynny'n unig a'm cymhella i ddod. Ond cofia di mai Glyndwr, ac efe yn unig sydd i'w ddal. Dim trais ar neb, na niwed i ddim yn Sycharth. Mae anrhydedd Mortimer yn hawlio hyn.

ARGL. GREY.—Wel, tydi a wyr oreu beth yw angen Mortimer. Gwn innau pa beth a fyn De Grey. Ond 'rwy'n chwerthin yn fy meddwl wrth weld Glyndwr pan ruthra'm gwyr i'w ddal!

*(Ant allan.* L 1.

*(Yn dyfod i fewn*—R 1—CADBEN MARGLEE *a Milwyr Grey.)*

MILWR *(yn cyfarch y Cadben)*.—Wel, dyma'r lle a benodwyd gan Arglwydd Grey ini wneud cynllwyn.

CAD. MARGLEE.—Mae'n lle braf i ymguddio.

(IOLO GOCH *yn ymddangos yn ymguddio yn y coed tua* R 1, ac *yn clustfeinio beth ddywed y milwyr.)*

MILWR.—Mae'n ddigon agos i'r ty ini weled neu glywed yr arwydd. Pa beth ydyw?

MARGLEE.—Maent yn cael noson lawen yn Sycharth heno. Pen ddelo'r amser, bydd Arglwydd Grey yn canu ei gân hela. Pan glywom ninnau'r corawd "Wel hai! Tali ho! Tali ho!" rhuthrwn i fewn â'n cleddyfau yn barod. Bydd yr Arglwyddi Grey a Mortimer yn ein haros yno. Ni all Glyndwr ddianc. Mae'r rhwyd yn rhwym o'i ddal.

MILWR.—Ust! Dyna swn canu!

*(Swn canu yn y Noson Lawen i'w glywed.)*

MARGLEE.—Ie. Gwyliwn bellach am arwydd Arglwydd Grey.

*(Y llen yn syrthio.)*

**SYLW.** Pan gyfyd y llen gwelir y Noson Lawen yn Sycharth ar waith.

## ACT I. GOLYGFA IV. NOSON LAWEN YN SYCHARTH.

*Yr Olygfa.—Ystafell eang yn Sycharth.*

*Yr Amser.—Nos.*

Llwyfan fechan yn y cefn, D.b. i D.d. Chwech o gadeiriau arni yn hanner cylch. *Yn eistedd* ynddynt yn y drefn ganlynol o D.b. i D.d., MORTIMER, JANE, GLYNDWR, ARGLWYDDES GLYNDWR, ARGLWYDD GREY, MARGARET. Yn eistedd ar ffrynt y llwyfan hon, ris yn is na'r uchod, tri neu bedwar o FACWYAID, gyda GWENFRON a dwy neu dair o FERCHED eraill. DYNION a MERCHED eraill yn sefyll, neu yn lled orwedd ar y llawr C.b., B.a., a C.d., B.e. Swn siarad uchel, a chwerthin i'w glywed cyn bo'r llen yn codi.

☞ *Os bydd adnoddau cerddorol y Cwmni'n brin, neu os ceir yn y rehearsals fod y Ddrama, o'i chwareu yn llawn, yn cymeryd gormod o amser, gellir gadael allan rai o'r caneuon yn yr Olygfa hon,—oddigerth y ddwy olaf. Gellir newid hefyd os mynnir y cymeriadau fydd yn canu unrhyw ddarn,—oddigerth De Grey a Iolo.*

GLYNDWR.—Dyma fel y byddwn ni yng Nghymru, fy Arglwydd Grey a Syr Edmwnd, yn treulio ein hirnos gaeaf. Pawb o'r teulu yma ynghyd, a phob un yn ei dro yn cyfrannu yr hyn a fedr efe at ddifyrrwch y cwmni.

*(Yna eir ymlaen a'r canu yn y drefn a ganlyn).*

### Rhif 3.—AR HYD Y NOS.

Pedwarawd a Chydgan.

Geiriau gan GWILYM RHUG.

Alaw Gymreig, trefniad ROBERT BRYAN.

DOH G. *Moderato. Dolce.*

*Soli p.* < > *Tutti p.*

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| S | d :-.t, | l, :d | r :-.d | t, :s, | l, :— | t, :-.t, |
| | (1) Clodydd | Cymru | gan - af | fin - nau, | Drwy | gyd - ol |
| A | s, :s, | f, :s, | l, :l, | s, :s, | l, :— | s, :-.s, |
| T | m :s | d :-.m | f :fe | s :m | d :f.m | r :s.f |
| | (2) Hawdd clod | fori ei | hiaith a'i | def - ion, | Ar | hyd y |
| B | d, :r,.m, | f, :m, | r, :r, | s, :d, | f, :— | s, :-.s, |

*Soli p.*

d :— | — :— | d :-.t, | l, :d | r :-.d | t, :s,

nos, | Mwyn ei chymoedd | heirdd a'i bryniau,

s, :{l, fe,} | s, :— | s,.l, :s,.f, | r, :s, | l, :fe, | s, :s,

m :re | m :— | m.f :m.r | d :m | r :r | r :m.r

nos, | Hawdd yw can - u | ei hal - aw - on,

d, :— | — :— | d :s, | l, :s, | fe, :r, | s, :d.t,

*Tutti p.* *Soli mf.*

l, :— | t, :-.t, | d :— | — :— | f :m | f :s

Fy mam-wlad | dlos, | Pwy os clywodd

l, :— | r, :s, | s, :{l, fe,} | s, :— | l,.t, :d.de | r :m

d :r.m | f.m :r.f | m :re | m :— | f.s :l.s | f :m

Ar hyd y | nos, | Dowch a'r crwth a

l, :— | s, :-.s, | d, :— | — :— | : | :

*dim e rall.*

l :s | f :m | f :-.m | r :d | m :-.r | d :t,

am ei dewrion, | Ac os gwelodd | aidd ei glewion,

f.t, :d.m | r :d | t,.r :d.t, | l, :s,.l, | t,.d :t,.l, | s, :s,

r :m | f.s :l | s :l.s | f :m.f | s.l :s.f | m :r

dowch a'r del - yn, | dowch a'r pen - nill, | dowch a'r englyn,

: | : | : | : | : | :

*Tutti. a tempo primo.* *pp.*

d :-.t, | l, :d | r :-.d | t, :s, | l, :— | t, :-.t,

All - ai gron-ni | ffrwd ei ga - lon, | Ar hyd y

s, :s, | l, :s, | fe,.s, :l, | s, :s, | l, :— | s,.l, :s,.f,

m.f :m.r | d :m | r.m :fe | s.f :m | f.s :f.m | r :-.r

Hen - o i ddath-lu | cwymp pob ge - lyn | Ar hyd y

d, :r,.m, | f, :s, | l, :r, | s, :d, | f, :— | s, :-.s,

Y pennill cyntaf. Y pennill olaf.

*pp* *rit.*

d :— | — :— || d :— | — : || l, :— | t, :-.t, | d :— | — :—

nos - - - - || nos - - - - | Ar hyd y | nos - - - -

m, :s,.f, | m, :— || m, :— | — : || f, :fe, | s, :-.s, | s, :l, | s, :—

d :m.r | d :— || d :— | — : || d :r.d | t,.r :s.f | m :re | m :—

nos - - - - || nos - - - - | Ar hyd y | nos.

{s, :l, / d, :—} | {s, :— / — :—} || l,.d :m.r | d.t, :l,.s, || f, :r, | s, :-.s, | d, :f, | d, :—

## Rhif 4.—CAN Y DROELL.

Y geiriau gan BERIAH G. EVANS. Alaw Gymreig, y trefniad gan ROBERT BRYAN.

Can a Chydgan.*

Jane.

DOH B♭. *Andante con moto.* *mp.* :𝄋: UNAWD.

S $: \mid : \mid : \mid :s_1 \mid d :m \mid d.,t_1 :l_1.,t_1$

Fy nhroell yr wyf yn
Wel-af fab a

*p*

S $s_1.,f_1 :m_1.,f_1 \mid s_1 :— \mid s_1 :— \mid — :— \mid s_1.,f_1 :m_1.,f_1 \mid s_1 :—$

A $m_1.,r_1 :d_1.,r_1 \mid m_1 :— \mid m_1 :r_1 \mid m_1 :— \mid m_1.,r_1 :d_1.,r_1 \mid m_1 :—$

T $d :s_1 \mid d :s_1 \mid d :t_1 \mid d :— \mid d :s_1 \mid d :s_1$

B $d_1 :— \mid d_1.,r_1 :m_1.,r_1 \mid d_1 :s_2 \mid d_1 :— \mid d_1 :— \mid — :—$

$d :— \mid — :d.,r \mid m :s_1 \mid s_1.,f_1 :m_1.,f_1 \mid s_1 :— \mid — :s_1.l_1.t_1$

droi, Mae'r ed - au yn fy llaw, A'r
merch, Yn myn-ed law yn llaw, A

$s_1.,f_1 :m_1.,f_1 \mid s_1 :— \mid s_1.,f_1 :m_1.,f_1 \mid s_1 :— \mid s_1 :— \mid — :—$

$m_1.,r_1 :d_1.,r_1 \mid m_1 :— \mid m_1.,r_1 :d_1.,r_1 \mid m_1 :— \mid r_1.,m_1 :f_1.,m_1 \mid r_1 :—$

$d :s_1 \mid d :s_1 \mid d :s_1 \mid d :s_1 \mid t_1.,d :r.,d \mid t_1 :—$

$d_1 :— \mid — :— \mid d_1 :— \mid — :— \mid \{s_1, s_2\} :— \mid — :—$

$d :d \mid d :-.d \mid r :m \mid f :-.m \mid s.m :d \mid d.t_1 :l_1$

ddau ed - af - edd yn - a'n glau, Yn un ed - af - edd
byw-yd dau trwy hud-ol serch, Yn fyw-yd un a

$s_1.,l_1 :s_1.,fe_1 \mid s_1 :— \mid t_1.,l_1 :t_1.,d \mid r :-. \mid d :— \mid l_1 :—$

$m_1.,f_1 :m_1.,re_1 \mid m_1 :— \mid s_1.,fe_1 :s_1.,l_1 \mid t_1 :-. \mid s_1 :— \mid fe_1 :—$

$d :s_1 \mid d :s_1 \mid r :s_1 \mid r :-. \mid m :— \mid r :-.d$

$d_1 :— \mid — :— \mid \{s_1, s_2\} :— \mid — :-. \mid d_1 :— \mid r_1 :—$

* Y Cor i ganu ar y llafariad "w" heb wasgu'r gwefusau. Caner yr adran olaf ar y geiriau.

Y tro cyntaf. *Dal Segno.* — Yr ail dro. — *p.*

| s, :— | — :s, || s, :— | — :s, | r :r | r :-.m |
ddaw, Mi | ddaw, Mae | ffawd yn troi ei
| s, :— | — : | s, :— | — : | t,.,d :t,.,l, | t, : |
| s, :— | — : | s, :— | — : | s,.,l, :s,.,fe, | s, : |
| t,.,d :r.,d | t, : | t,.,d :r.,d | t, : | r :s, | r : |
| s,.,l, :t,.,l, | s, : | s,.,l, :t,.,l, | s, : | s, :— | — : |

*mf.* — *rall.*

| d.,t, :l,.,t, | d :-.d | f :f | m :r | d :— | t, :s,.l,.t, |
rhod, Mae'r | ed - au yn ei | llaw, Mae
| d.,t, :l,.,t, | d.,s, :l,.,s, | l, :— | — :r | d :— | t, : |
| d.,t, :l,.,t, | d.,s, :l,.,s, | f, :— | m, :s, | — :— | — : |
| d.,t, :l,.,t, | d.,m :f.,m | r :— | d :r | m :— | r : |
| d,.,t₂ :l₂.t₂ | d,.,m, :f,.,m, | r,.,m, :f,.,s, | l, :t, | d :m, | s, : |

*cres.*

| d :d.,d | d :l,.t,.d | r.,d :r.,m | r :d.,r | m :m.,f | m :r |
tyng-ed pob dyn gan | ffawd ei hun, Ai | ples-er, ai gof - id
| s,.,l, :s,.,fe, | s, : | t,.,d :t,.,l, | t, : | d :— | — :t, |
| m,.,f, :m,.,re, | m, : | s,.,l, :s,.,fe, | s, : | s,.,l, :ta,.,l, | s, :s, |
| d :s, | d : | r :— | — : | d :s, | d :s, |
| d, :— | — : | s, :r, | s, : | d, :— | d,.,m, :s,.,f, |

*rall.* — *a tempo.*

| d.,r :m.,f | s :f | s.m :d | s, :t,.r | d :— | — : |
sydd yn dod, O | ddwy-law ffawd y | daw.
| d :— | t, : | d :— | t, : | d :— | — :— |
| — :— | — : | s, :m,.fe, | s, : | s,.,l, :s,.,f, | m, :— |
| d :— | r : | d :— | r : | m.,f :m.,r | d :— |
| m, :d, | s, : | m, :l, | s : | {s, / d,} :— | {s,.,l, :s,.,f, / — :—} |

*mf.*
| : | (fermata) :s, | r :r | r :-.m | d .,t, : l,.,t, | d :-.d |
Mae | ffawd yn troi ei | rhod, Mae'r
| s, :— | — (fermata) :s, | t,.,d : t,.,l, | t, :-.t, | d .,t, : l,.,t, | d :-.d |
Mae | ffawd yn troi ei | rhod, Mae'r
| m, :r, | m, :s, | s,.,l, : s,.,fe, | s, :-.s, | d .,t, : l,.,t, | d .,s, : l,.,s, |
| d :t, | d :s, | r :r | r :-.s, | d .,t, : l,.,t, | d .,m : f .,m |
Mae | ffawd yn troi ei | rhod, Mae'r
| m,.,f, : s,.,f, / d :s,, | m, / d, :s, | s, :s, | s, :-.s, | d .,t, : l,.,t, | d .,m, : f,.,m, |

*f.* *rall.* *a tempo. mf.*
| f :f | m :r | d :— | t, (fermata) :s,.l,.t, | d :d .,d | d :l,.t,.d |
ed - au yn ei | llaw, Mae | tynged pob dyn, gan
*f.* *rall.*
| f :f | m :r | d :— | t, (fermata) :s,.l,.t, | d :d .,d | d :l,.t,.d |
ed - au yn ei | llaw, Mae | tynged pob dyn, gan
| l,.,s, : l,.,t, | d :t,.,l, | s, :— | — :s,.l,.t, | d .,l, : s,.,fe, | s, :l,.t,.d |
| r :r | d .,m : s .,f | m .,f : s .m | r :s,.l,.t, | d .,f : m .,re | m :l,.t,.d |
ed - au yn ei | llaw, Mae | tynged pob dyn, gan
| r,.,m, : f,.,s, | l, :t, | d .r : m .,d | s, :s,.l,.t, | d :d .,d | d :l,.t,.d |

*cres.* *f*
| r .,d : r .,m | r :d .,r | m :m .,f | m :r | d .r : m .,f | s (fermata) :f |
ffawd ei hun, Ai | ples-er, ai gof - id | sydd yn dod, O
| r .,d : r .,m | r :d .,r | m :m .,f | m :r | d .,r : m .,f | s (fermata) :f |
ffawd ei hun, Ai | ples-er, ai gof - id | sydd yn dod, O
| t,.,d : t,.,d | t, :d .,t, | d :t,.,t, | d :s, | s, :d | t, :d |
| s :s | s :m .,s | s :s .,s | d :r | m .,r : d | r :d |
ffawd ei hun, Ai | ples-er, ai gof - id | sydd yn dod, O
| s, :s, | s, :l,. s, | d :s,.,s, | l, :t, | d .,t, : l, | s, :l, |

*Largo.*
| s .m :d | s (fermata) :s | d :— | — (fermata) :— ||
ddwy - law ffawd y | daw.
| s .m :d | s, (fermata) :t, .r | d :— | — :— ||
ddwy - law ffawd y | daw.
| ta, :l, | s, :s, | s, .,l, : s, .,f, | m, :— ||
| d :d .r | m :r .f | m .,f : m .,r | d :— ||
ddwy - law ffawd y | daw.
| m, :f, | s, :s, | d, :— | — :— ||

CADBEN *(yn troi arno)*.—Mi wyddost? Y cythraul—

IOLO.—Ie. Dyna fo. Ti enwaist o y cynnyg cynta *(yn pwyso'i ben ar y bwrdd drachefn)*.

Y CYMRY OLL *(yn chwerthin)*.—Ha! Ha! Ha!

CADBEN *(yn ffyrnig)*.—Mi ro i ben ar eich chwerthin yn y munud!

DEIO A RHISIART *(yn sefyll tu ol i Milwr* 1, *yn edrych dros ei ysgwyddau ar y papur)*.—Be mae'r papur yn ei ddeyd hefyd?

MILWR 1.—Darllen trosot dy hun!

DEIO.—Fedra i ddim darllen.

CADBEN *(yn codi ar ei draed yn fawreddog)*.—Mae'n iawn i bawb gael gwybod. Proclamasiwn y Brenin ydy o. Dywed na cha'r un Cymro ddal swydd o dan y Brenin.

DEIO.—Cheisis i'r un. Mae swydd o dan Shon yr Ordd yn ddigon o swydd imi.

CADBEN.—Mae'n gwahardd tan gosb angau i neb ddwyn offer ysgrifennu i Gymru.

SEGET.—Gethin! Galw'r clochydd i gloddio bedd ini'n dau!

CADBEN.—Ni cha un Cymro gario arf.

RHISIART *(yn dal ei gryman allan)*.—Ydy cryman yn arf, Capten?

CADBEN.—Cynygir mil o ferks am ben Glyndwr.

SHON *(yn codi)*.—Am ben Glyndwr! Y Cymro gora er dydd Llewelyn!

Y MYNACH *(yn codi)*.—Melldith nef ar y neb a niweidia flewyn o ben Glyndwr!

MILWR 2 *(yn tynnu ei gledd ar Shon)*.—Y bradwr!

GETHIN *(yn ei wthio'n ol â'i ffon)*.—Gan bwyll, was i!

CADBEN.—Cynygir cant o ferks am ddal Iolo Goch, sy'n berwi'r wlad o'r Gogledd hyd y De o blaid Glyndwr.

HUWCO.—Bachan piwr yw Iolo!

RHISIART.—Un di lol ydy Iolo'n wir!

IOLO *(wrth y Cadben)*.—Leiciet ti ynnill y can merk?

CADBEN.—Pam 'rwyt ti'n gofyn?

IOLO.—Mi wn i ble mae Iolo'r funud yma.

CADBEN *(yn aiddgar)*.—Mi wyddost? Cei wobr dda os gwnei ei ddangos imi!

IOLO.—Wel, gwna'n reit siwr.

Y CYMRY.—Hiss—s—s!

CADBEN.—Na hidia'u hisian hwy. Ble mae Iolo?

IOLO *(yn codi ar ei draed, gwthio'r gadair heibio, taflu ei fantell yn ol)*.—Wele ef! Myfi yw Iolo Goch!

SHON *(wrth Milwr 2, sydd eto'n ei fygwth â'r cledd)*.—'Toes gyn i'r un arf ond dwrn. Ond dyna ergyd dros Glyndwr! *(yn taro Milwr 2 i lawr)*.

DEIO.—Campus, meistar! 'Rwyf finnau'n dysgu'r grefft! *(yn taro Milwr 1 i lawr)*.

CADBEN *(wrth Iolo)*.—A ti yw Iolo Goch! Cawn weld a yw dy waed mor goch a'th enw! *(yn tynnu ei gledd, ac ymosod)*.

IOLO *(yn amddiffyn â'i gledd)*.—Cymro o waed coch cyfa sy drech na'r un Sais ar ei ora.

*(Ymladdant.* MILWYR 3 a 4 *yn rhuthro i gynorthwyo'r* CADBEN. SEGET *yn estyn ei ffon nes tripio* MILWR 3. GETHIN *yn taflu ei walet i wyneb* MILWR 4. HUWCO a RHISIART *yn ymladd a'r lleill.* IOLO *yn trywanu'r* CADBEN, *yr hwn a syrth wisg ei gefn a'i gledd yn clechdyrio i'r llawr.)*

Y MYNACH.—Bendith ar dy ben, Iolo. Maddeuir mil o'th bechodau am a wnei dros Glyndwr!

(Y CYMRY *yn crynhoi o gwmpas* IOLO. SIEMSYN a'r MERCHED *yn dod allan o'r ty.)*

Y MERCHED.—Hwre, Iolo bach!

Y DYNION.—Hwre, Glyndwr!

PAWB.—Cymru am byth!

IOLO.—Yn ara deg, gyfeillion. Mi 'rydw i am gael gwybod ble 'ryda ni'n sefyll arni. *(Wrth Seget):* Be 'dy'r hanes o Rydychen?

SEGET.—Mae'r myfyrwyr Cymreig yno ac yng Nghaergrawnt oll wedi cychwyn 'nol i Gymru 'rol clywed fod Glyndwr wedi codi'r Ddraig Goch.

Y DYNION.—Hwre! Y Ddraig Goch a ddyry gychwyn!

IOLO *(wrth Rhisiart)*.—Ti ddoist o Loegar?

RHISIART.—Do. Mae'r gweithwyr Cymreig ar y cynhaea yn Lloegar oll yn gwynebu yn ol ar Gymru am yr un rheswm.

Y MYNACH.—Ymhob Priordy yr ymwelais âg ef, offrymir gweddiau ddydd a nos dros lwydd Glyndwr!

IOLO.—Newyddion da oll. Ond pa ryfedd? Cyd-Gymry y'm: cyd-orthrymedig y'm. Ein hunig ddiogelwch yw cyduno oll i yrru'r Sais o'n tir, yr estron balch o'n gwlad; a golchi'n lân yr erchyll staen adawodd gormes y Saeson arni hi a'i phlant! Fydd eiddo neb, cymeriad merch na bywyd gwr, yn ddiogel, tra caffo rhai fel hyn *(yn cyfeirio at y Milwyr Seisnig ar lawr)* eu dwylaw'n rhydd i wneud a fynnont â nyni. Mae maes y gelyn heddyw'n aeddfed wyn i gryman Cymru ei fedi! Cynhaeaf braf toreithiog sydd o'n blaen, os ydym a'n crymanau iddo'n barod. A gofyn 'rwyf, yn enw'r dewr Glyndwr: A ddowch chwi a'ch crymanau ato i'r fedel?

OLL.—Gwnawn! Gwnawn! Byw fo Glyndwr! I fyny a'r Ddraig Goch! Cymru am byth!

*(Llen.)*

NODIAD. Aeth y newydd fod Glyndwr yn galw Cymru i'r gad yn erbyn gormes Lloegr, fel tân drwy'r wlad. Tyrrodd gwladgarwyr Cymru benbaladr, o bob gradd a dosbarth, at ei faner. Daeth Harri Frenin ei hun gyda'i fyddin i Gymru. Cyflawnasant lu o erchyllderau creulon. Darlunir un o'r cyfryw yn yr Olygfa nesaf.

## ACT II. GOLYGFA III. YSTRAD FFLUR.

*Yr Olygfa: Ystafell yr Abad ym Mynachlog Ystrad Fflur.*

*Yr Amser: Hwyr Brydnawn.*

(YR ABAD. *Yn eistedd yn ei gadair tua* C.c. *Yn gwynebu tua* L 1. Bwrdd yn ei ymyl ar ei aswy. Cloch, ac awrwydryn arno. YR ABAD, a'i benelin ar y bwrdd, a'i ben ar ei law. Yntau'n welw a gwan. *Swn canu* yn y cefn. YR ABAD *yn taro cloch* ar y bwrdd. MYNACH *yn dyfod i fewn* L 2; *yn plethu ei ddwylaw, a phlygu ei ben i'r* ABAD).

YR ABAD.—A gladdwyd y Brawd Dewi?
MYNACH.—Do, fy nhad! Mae'r Cor yn canu Requiem.
YR ABAD.—Ti wyddost fod Glyndwr i ddod yma?
MYNACH.—Gwn, fy nhad.
YR ABAD.—Nid wyt wedi hysbysu neb?
MYNACH.—Wyr neb ond ti a minnau ei fod yn dod.
YR ABAD.—Pan ddaw, dwg ef yma'n ddioed.
MYNACH.—Gwnaf, fy nhad *(yn ymgrymu ac ymadael L2)*.

### Rhif 13.—DIES IRÆ.

Cydgan Mynachod Ystrad Fflur, i'w ganu tu ol i'r llen.

DOH E♭. *Larghissimo.* ROBERT BRYAN.

*mf.* Bb t.

| | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| T | l | :-.l | d'.t | :l | r' | :-.r' | m' | :m' (𝄐) | ᵐl, | :-.t, | d | :l, |
| T | l | :-.l | d'.t | :l | l | :-.l | t | :t | ᵐl, | :-.t, | d | :l, |
| B | l, | :-.l, | d.t, | :l, | l | :-.l | se | :se | ᵐl, | :-.t, | d | :l, |
| B | l, | :-.l, | d.t, | :l, | f | :-.f | m | :m | ᵐl, | :-.t, | d | :l, |
| (1) | Di | - es | i - | ræ, | di | - es | il - | la | Sol | - vet | sæc - | lum |
| (2) | Quan- | tus | tre - | mor | est | fu - | tu - | rus, | Quan - | do | ju - | dex |
| (3) | Tu | - ba | mi - | rum | spar- | gens | so - | num, | Per | se - | pul - | chra |

| *f.* | | | 𝄐 | f.E♭. *mf.* | | *dim. c. rall.* | | *p.* | | | 𝄐 |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| l | :-.l | \|se | :se | \|ʳl | :-.l | \|s.fe | :m | \|l | :l.t | \|l | :l |
| f | :-.f | \|m | :m | \|ʳl | :-.l | \|s.fe | :m | \|m | :f | \|m | :m |
| r | :-.r | \|$t_1$ | :$t_1$ | \|ʳl | :-.l | \|s.fe | :m.r | \|d | :r | \|d | :d |
| $r_1$ | :-.$r_1$ | \|$m_1$ | :$m_1$ | \|ʳl | :-.l | \|s.fe | :m.r | \|d | :r | \|$l_1$ | :$l_1$ |

in fa - vil - la; Tes - te Da - vid cum Sy - bil - la.
est ven - tu - rus, Cunc-ta stric-te dis - cus - su - rus.
re - gi - o - num, Co - get om - nes an - te thro-num.

(MYNACH *yn dyfod i fewn* L 1, *yn cael ei ganlyn gan* GLYNDWR).

MYNACH.—Glyndwr, fy nhad! *(ymgrymu a myned allan L2)*.

(GLYNDWR *yn plygu glin o flaen yr* ABAD; *hwnnw'n gosod ei law ar ben Glyndwr mewn bendith.)*

ABAD.—Cwyd, 'nawr, fy mab. Ac eistedd lle y caf dy weld yn glir.

(GLYNDWR *yn eistedd gyferbyn a'r* ABAD. *Distawrwydd ennyd.)*

GLYNDWR.—O Santaidd Dad! Yn aros d'wyllys da 'rwyf fi.

ABAD.—O obaith Cymru! O fy newr Glyndwr! Hyfrydwch llygad o'yt ac wyt imi! Fy llygaid, er mor

NODIAD.—Gellir canu'r cydgan uchod ar y cyfieithiad a ganlyn o'r geiriaŭ gwreiddiol.

Dydd Digofaint,—dydd yw hwnnw
Lysg y ddaear oll yn lludw,—
Tystia'r Llyfr am ddigter garw.

O! ofnadwy fydd y crynnu,
Pan ddaw'r Barnwr Mawr i farnu,
Cywir farnu dynion obry.

Utgorn Duw sy'n awr yn galw
Dynion fry o fro y marw,
Oll i ddod i'r Frawdle arw.

ROBERT BRYAN.

bŵl ynt hwy, belydrant yngoleuni'th wyneb di. Fy nwylaw *(yn eu dal allan)* er gan flinder blwyddi'n wan, a ddont yn gryf pan ga'nt anwylo'th wallt.

GLYNDWR.—O Santaidd Dad! Yn llon y daethum ar dy air, ond trwm yw'm calon wrth dy weld mor wael.

ABAD.—'Rwy'n sefyll 'nawr ar fin fy medd, mi wn.

GLYNDWR.—Nid felly, O fy nhad! Mae arnaf fi, a Chymru, eisieu'th help yn wir!

ABAD.—Mae UN a ŵyr yn well, all wneud yn well, na mi i ti'n gymorth. Efe sydd yn fy ngalw. Rhaid i'm fynd. Ond cyn fy mynd ces genadwri, do, ces ddwy. Un oedd imi fy hun, y llall iti.

GLYNDWR.—O ble y daeth y genadwri imi?

ABAD.—Oddiwrth y Llaw sy'n llywio nef a llawr! Pan neithiwr ar fy ngwely'n glaf, gan ludded bron ynghwsg, gan boen yn effro (pa un ai 'nghwsg ai'n effro nis gwn i), i'm cell daeth goleu dysglaer, mwyn, ac yn ei ganol safai angel gwyn o'r Wynfa bur ei hun! 'Roedd gwawl y nef ar ei adenydd glân, a thlysni na all byd ei roi, oedd ar ei wedd. 'Roedd mawredd urddas 'rhwn nis gwelodd dyn erioed mo'i fath, ymhob rhyw osgo wnaeth, a thinc telynnau aur yn sain ei lais. A dyma'r genadwri gefais ar dy ran. Gweddiau'r Eglwys, ac aberthau gwlad dros lwydd Glyndwr a Rhyddid Cymru-wen, medd ef, ynt gymeradwy yn y nefol lys. Bydd llwydd ar dy ymdrechion dewr. Cei goron aur o gylch dy ben. Fe'th urddir yn Dywysog—Teyrn dy wlad!

GLYNDWR.—A thithau, Santaidd Dad! wnest gymaint i'm? A roi di'r goron honno ar fy mhen?

ABAD.—Llawenydd pur fel eiddo'r nef ei hun a f'ai gwneud! Ond ni chaf weld yr hyfryd ddydd fy hun. Yr angel ddwedodd rhaid i'm fynd; fod gorsedd wen yn wag yn f'aros i tu draw i'r llen; fod telyn fud ym mro gogoniant draw, a chorawd mawl ein Hior yn brin drwy ei dystawrwydd hi, am nad oedd bysedd ond y rhai'n *(yn codi ei ddwylaw i fyny)* a fedrent ganu ei heurdannau hi. Dywedodd caffwn arwydd heddyw fod ei genadwri ef yn wir;

caet ti, o fewn y dydd, dy wared mewn modd gwyrthiol bron—a minnau wŷs i roi fy mhresenoldeb yn llys nef!

MYNACH *(yn rhuthro i fewn* L1).—O ddewr Glyndwr! O Santaidd Dad! O ddydd o wae!

GLYNDWR *(yn neidio ar ei draed)*.—Pa beth sy'n bod?

ABAD *(yn bwyllog)*.—Eistedd di, fy mab! Mi wn beth yw. Mae'r arwydd yma'n dod. *(Wrth y Mynach)*: Dy neges dwed.

MYNACH.—Gelynion Cymru a'n gormeswyr ni sy'n dod! Mae milwyr Brenin Lloegr yn amgylchu'r lle i gyd —a Glyndwr yma!

ABAD.—'Nawr, clod i Dduw am roi yr arwydd hwn! Er profi'r broffwydoliaeth rhof yn llon fy mywyd lawr ar allor bur fy ngwlad!

GLYNDWR.—Na! Santaidd Dad! Cyn y'th aberthir di, yn garcharor rhof fy hun i'w dwylaw hwynt!

ABAD.—Na! Na! Fy mab! 'Rwyt ti a mi yn nwylaw uchel Ior, a rhaid yw ufyddhau i arch y nef!

MYNACH.—Gwae! Gwae! Pa beth a wnawn!

ABAD.—Taw, frawd, dy ferw ffol. Dos at dy waith. Paid dweyd wrth neb. Mi'th alwaf eto yma yn y man. *(Mynach yn myned allan, L2)*.

GLYNDWR.—Na foed imi, fy nhad, ddwyn gwae iti a'r brodyr yma sydd; na rhoi i Harri esgus dros anrheithio'r lle.

ABAD.—Ble mae dy ffydd. Yr angel oedd yn iawn. Fe wyddai ef. Gwn innau'n dda. Ni cha un blewyn o dy ben di gam. Ca'r Saeson ddod. Cant ddod i'r 'stafell hon. Cei dithau ddianc drwy eu mysg yn iach ddianaf; eu gweled, ie, a'u clywed gei. Ond ni chant hwy dy weled di, na chlywed swn, na chanfod ol, dy draed.

GLYNDWR.—I'th law, fy nhad, 'rwy'n rhoddi f'hun yn llwyr. Ond cyn y dont, O dyrro i'm dy fendith! *(yn syrthio ar ei liniau)*.

ABAD *(yn gosod ei law ar ben Glyndwr)*.—Duw Abraham, Isaac, Jacob, weno'n awr ar ddewr Glyndwr, Tywysog Gwalia Wen! Y Duw a gadwodd Daniel yn y ffau, a'r llanciau yn y danllyd ffwrn, a'th gadwo, ac a'th

lwyr fendithio di! Boed iddo'th godi di i orsedd Cymru, a bydded i ti yn rhan ac yn arweinydd hyd dy fedd! Fel yr eneiniodd Samuel Dafydd gynt â'r olew santaidd, yn frenin Duw ar Israel, â'm dagrau olaf, dyfnaf waed fy nghalon, 'rwyf yn d'eneinio di, Glyndwr, yn Dywysog Cymru!

*(Distawrwydd ennyd.* Y DDAU *yn wylo.)*

ABAD.—'Nawr cyfod. Gwrando'n graff. Mae llwybr cul cuddiedig yn y mur o'r 'stafell hon wna'th arwain yn ddiogel tu hwnt i furiau'r ardd. Pan yn y cyffro y rhuthra pawb i fewn, cei dithau gyfle i ddianc. Dyma'r drws.

*(Yn cyffwrdd spring cuddiedig yn y mur a dangos drws yn agor i'r llwybr tanddaearol.)*

ABAD.—Yn awr, i fewn â thi. Ffarwel, fy mab.

OWEN.—Ffarwel! Ffarwel fy nhad!

*(Yn myned i fewn. Y drws yn cau ar ei ol. Yr* ABAD *yn taro'r gloch. Mynach yn dod i fewn.* L 2.)

ABAD.—Yw'r Brodyr yn y capel?

MYNACH.—Ydynt, ar ymadael.

ABAD.—Dos, dywed wrthynt am ddod yma 'nawr. Daw curo wrth y porth cyn hir. Pan ddaw, wel, agor dithau iddynt hwy yn rhwydd, a dwg y Saeson yma ataf fi.

MYNACH.—Yma, fy nhad! A thithau'n wael!

ABAD.—Os gwael yn awr mi fydda'n iach cyn nos. Gwna fel dywedais. Brysia di. Yr amser sy'n nesau.

(Y MYNACH *yn myned allan*—L 2. Y MYNACHOD yn eu gwisg-oedd corawl, *yn dod i fewn* L 3, *yn ffurfio'n hanner cylch o flaen yr* ABAD, o E.c i B.d.)

ABAD.—Mi'ch gwysiais yma, frodyr hoff a da, i ddweyd ffarwel.

BLAENOR Y MYNACHOD.—Ffarwel? A wyt am daith, fy nhad?

ABAD.—Mi deithiaf heddyw'r llwybr 'rhyd yr hwn ni ddychwel neb.

MYNACHOD.—O Dad!

ABAD *(yn codi ei law)*.—Y Meistr ŵyr! Fy mhlant, eich gadael raid. Ac os anghofiwch fi pan wedi mynd, rhaid i chwi gofio'ch gwlad, a'i hawliau hi.

*(Swn curo wrth y porth tu allan.)*

YR ABAD.—A dyna'r wŷs yn dod imi *(yn dyrchafu ei ddwylaw mewn bendith)*. Fy mhlant bychain! Pax Vobiscum nostraque Walia!

Y MYNACHOD.—*(Yn canu yn isel)*—

**Rhif 14.**—PAX VOBISCUM*

*Yr Abad yn bendithio.* ROBERT BRYAN.

B♭. *Adagio religioso.* M. 60.

| d :t,.s, \| l, :s, (𝄐) | Cydgan i S.A.T.B. (heb gyfeiliant). | |
|---|---|---|
| Pax vo - bis - cum. | | |
| : \| : | : \| : | : \| : |
| : \| : | : \| : | : \| : |
| : \| : | : \| : | *p.* d :t,.s, \| l, :t,.d |
| | | Pax vo - bis - |
| : \| : | *p.* s, :m,.d, \| r, :m,.f, | m,.d, :r,.m, \| f,.m, :r,.d, |
| | Pax vo - bis - | cum, vo - bis - |

| | | |
|---|---|---|
| : \| : | *p.* d :t,.s, \| l, :t,.d *cres.* | t, : \| : |
| | Pax vo - bis - | cum, *mf.* |
| *p.* s, :m,.d, \| r, :m,.f, | m, : .s, \| fe,.r, :s,.fe, | s, : \| s, :l,.d |
| Pax vo - bis - | cum, vo - bis - | cum, pax vo- |
| t,.s, :l,.d \| t,.l, :s,. | d.m :r.d \| d :t,.l, | s, : \| r :d |
| cum, vo - bis-cum, | Pax vo - bis - | cum, *mf.* pax - - |
| s, : .l, \| s,.f, :m,.r, | d, : .m, \| r, :r,. | s, :l,.d \| t, :l, |
| cum, vo - bis - | cum, vo - bis - cum, | pax vo - bis - |

* Pax vobiscum=tangnefedd i chwi. Gellir canu ar y geiriau "Bendith fo arnoch," ond peidio slurio y ddau nodyn cyntaf o'r sylfon.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| r.m :r.d | t, : | : | *f.* d.r :m.s | s :fe | s :— |
| pax | | | pax vo - | bis - - | cum. |
| t, :l, | s,.l, :s,.f, | m, : | *f.* :d | t,.s, :l,.d | t, :— |
| bis - | - - - | cum, *f.* | > vo - | bis - - | cum. |
| s : | : | d :m.s | s.f :m | : | s :— |
| - | | pax vo - | bis - cum. | | pax |
| s, : .fe, | s,.f, :m,.r, | d, :d.t, | l,.t, :d.m | r :r, | s, :— |
| cum, vo - | bis - | cum, pax | vo- | bis - - | cum. |

(*Yn rhuthro i fewn*—L 1—*y* BRENIN a MILWYR, *ac*—R 1—ARGLWYDD GREY, MARGLEE, a MILWYR. Y MYNACHOD mewn dychryn *yn peidio canu.* *Yr* ABAD *yn codi, yn dal y Groes Santaidd i fyny yn ei law ddehau, gan wynebu'r* BRENIN. Y MYNACHOD *yn ymdyrru o'r tu ol iddo.*)

YR ABAD.—Pa beth yw ystyr yr halogiad hwn ar Dŷ eich Duw! A fynnech chwi i dân o'r nef eich hysu?

(MILWYR *yn cilio yn ol mewn braw.* GREY *yn chwerthin.* *Y* BRENIN *yn dynesu at yr* ABAD *a'i gledd yn noeth.*)

GREY *(mewn gwawd)*.—A driga Duw ym mynachlogydd Cymru?

Y BRENIN.—Ni fynnem wneud niwed i ti, yr hen wr, na chwaith halogi Ty dy Dduw. Ond ni chei di, dan gochl ffug-santeiddrwydd, roi lle i fradwr guddio'i hun—na'th Dduw ei achub ef o'm llaw!

YR ABAD.—Bradwr? Pa fradwr sydd?

BRENIN.—Glyndwr a geisiaf. Pa le mae efe?

YR ABAD.—Paham y ceisi Glyndwr gennyf fi? A nodaist ti fi'n geidwad iddo ef? Neu tybied wyt mai dewin wyf all weld dros fryn a phant, trwy fynydd a thros fôr?

BRENIN.—Gad heibio'th rigwm eiriau gwag! Mi wn fod Glyndwr yma.

ABAD.—Ac os yw? Os yma mae'n ymnoddi, a feiddi di ysbeilio dinas noddfa Brenin nef?

GREY *(wrth y Brenin)*.—Fy Arglwydd Frenin, dinas noddfa Glyndwr yw. Debygwn mai Glyndwr yw duw yr Abad hwn!

BRENIN *(wrth yr Abad)*.—Mi feiddiaf bobpeth er mwyn dal Glyndwr! Gwnaf! Heriaf nef ac uffern boeth ei hun!

*(Swn taran draw.)*

(Y MILWYR *yn agoshau at yr* ABAD. *Y* MYNACHOD yn eu braw *yn tyrru'n nes at eu gilydd. Yr* ABAD *yn dyrchafu'r Groes* o flaen y MILWYR, y rhai *a safant mewn ofn.)*

YR ABAD.—O b'run o'r ddau y daeth y daran gref?

Y BRENIN.—Ni waeth gen i o ble! Dal Glyndwr wnaf tae'r ty yn disgyn ar fy mhen!

GREY *(wrth yr Abad)*.—Mae'r Eglwys, ac mae'r allor y tu ol i ti. Ai yno ceir Glyndwr? Sa di o'r ffordd i'r milwyr chwilio'n llwyr! Filwyr! ymlaen!

YR ABAD.—Ymgroeswch, ddynion ffol, rhag tynnu llid y nef i'ch rhan! *(yn dal y Groes i fyny)*.

GREY *(yn chwerthin yn wawdlyd)*.—Oes ofn yr Abad arnoch, filwyr dewr?

MARGLEE.—Mae drysau eraill tua'r Eglwys, f'arglwydd Grey.

BRENIN *(wrth Marglee)*.—Wel, chwilia di a'th wŷr bob congl o'r adeilad, a llusgwch yma'r bradwr ger fy mron.

MARGLEE.—Pe tae'n ymguddio mewn twll llygoden ni a'i ffeindiwn ef!

(MARGLEE a'r MILWYR *yn myned allan* R ac L).

ABAD.—Pe chwilient flwyddyn gron, pe tynnent y fynachlog hon bob maen a thrawst i lawr, ni chaent Glyndwr!

BRENIN.—Gwn well na hynny. Yma daeth efe; fe'i gwelwyd ef, ac ni ddychwelodd. 'Nawr, gwrando. Os dywedi i'm pa le y mae efe, dy ddewis gei o holl Abatai'r deyrnas,—ie'r brasaf un o honynt oll a gei. Mi'th wnaf yn Esgob hefyd, uchel fri—

YR ABAD.—Gwae'r Eglwys pan ei bugail wna ei hunanles a hunan-gais yn nod, yn lle chwenychu lles y praidd a chlod gogoniant Duw!

Y Brenin.—Na! gwrando dithau reswm! Dyro i'm Glyndwr, a chei—

Yr Abad.—Ni waeth it dewi! Twyllo'th hun yr ydwyt. 'Toes wobr is y nef a'm temtia i i droi yn fradwr i Glyndwr, a'm gwlad!

Brenin *(yn ffyrnig)*.—Cei gosb ynte os gwrthod gwobr wnei! Gwel yr awrwydryn hwn *(yn cyfeirio at un ar y bwrdd)*, mae'r tywod ar derfynnu. Pan red yr olaf un a thi heb ddweyd pa le y mae Glyndwr, wel, fel mae byw fy enaid, fy nghledd a yf dy waed!

Yr Abad.—Dy enaid ni fydd byw os gwnei! Ac am fy ngwaed, mae iti roeso, er na wna les iti. Nid oes un gwaed ond eiddo Crist ei hun all dorri syched dy ddigofaint ynfyd di.

Brenin *(yn troi at y Mynachod)*.—Oes un o honoch ddwed pa le y mae Glyndwr? Os oes, dyrchafu hwnnw wnaf i le yr Abad ffol.

Blaenor y Mynachod.—Fy Arglwydd Frenin. Yngwydd ein Duw y tyngwn un ac oll na wyddem fod Glyndwr o fewn y muriau hyn.

(Milwyr *yn dod yn ol* L ac R).

Marglee.—Nid yw Glyndwr i'w ganfod yn y lle.

Brenin.—Ond rhaid ei fod! Os na cheir ef llosgaf y lle i'r llawr—a Glyndwr gyda'r lle.

(Y Brenin yn troi at yr Abad, cyfeirio at yr awrwydryn).

Brenin.—Mae'r olaf ronyn wedi rhedeg lawr. 'Nawr, dwed pa le y mae Glyndwr?

Yr Abad.—Cei wybod 'nawr *(yn datod dillad ei fynwes)*. Gwel. Yma'm calon i! Ac ynddi 'roedd, ac ynddi mae, ac ynddi bydd Glyndwr!

Brenin *(yn gwallgofi)*.—Y bradwr 'styfnig! Dyma'th dâl iti!

(Brenin *yn bygwth yr* Abad *a'i gledd ond heb ei daro. Yr* Abad *yn syrthio'n ol i'w gadair. Cyfeiria a'i law dde at y* Brenin.)

ABAD.—Ha! Harri Frenin! Diolch it am roi yr hyn ni allai'r byd ei roi imi! Dadgloaist ddrws y nef o'm blaen! I'm llaw rhoist delyn, coron ar fy mhen—a mi—mi—i—freichiau Ie—su! *(Yn marw; ei ben yn llithro ar ei fraich aswy ar y bwrdd).*

(Y MILWYR *yn edrych ar eu gilydd mewn braw.* Y MYNACHOD *yn dynesu at gorff yr* ABAD, *yn cychwyn canu y Requiem.* Y BRENIN *yn myned allan*—R I—*gan edrych yn ddychrynedig ar yr* ABAD *yn marw. Llen yn syrthio cyn i'r gân derfynu.)*

**Rhif 15.**—REQUIEM.*

Cydgan i S.A.T.B.

DOH F. *Adagio dolce.* M. 68. ROBERT BRYAN.

```
                          pp.
|     :     |     :     |m.s :-.f |m   :—   |     :     |     :     |
                          re  -  qui-em,
|     :     |     :     |s,  :l,.t, |d  :—   |     :     |     :     |
pp.                                            p.
|d   :r.m  |m.s  :-.f  |m   :r   |d   :—   |d   :r.m  |m.s :-.{l/f} |
 Do  - na   hu   - ic    re  - qui-em,        do  - na   hu   - ic
|d   :t,.l, |s,  :m,.f, |s,  :s,  |{d/d,} :— |d  :t,.l, |s,  :m,.f, |

p.                        mf.                    >
|s   :l.t  |d'   :—   |d'  :t.l  |l.s  :-.f |f.m  :r.d  |r    :—   |
 re  - qui-em,          do  - na   hu  - ic    re  - qui-em
|{m.s/d} :-.{f/r} |m :— |m :r.t, |d   :d    |r.d  :t,.l, |t,.d :t,.l, |
                                               >
|{s/m} :-.{s/r} |{s/d} :— |m :f  |s   :l    |l.s  :f.m  |s.l  :s.f  |
 re  - qui-em,          do - na   hu  - ic     re  -  qui-em,
|s,  :s,   |{d/d,} :—  |d   :r   |m    :f    |f,   :l,   |s,   :—   |
```

* Gellir canu ar y geiriau "Dyro iddo hun a hedd."

*f.* > *dim.* *pp.*

|d' :t.l |l.s :-.f |f.m :-.r |d :— |f.m :r.d |f.m :r.d
do - na hu - ic re - qui-em, do - na hu - ic
|s, :s.f |f :m.r |d :l,.t, |d :— |d :t,.d |d :t,.d
|m.f :s.l |t :t |d'.m :s.f |m.s :f.m |{l.s f.s} :s |{l.s f.s} :s
do - na hu - ic re - qui - em, do - na hu - ic
|d.r :m.f |s :s, |l,.s, :f,.s, |d.m :r.d |r.m :f.m |r.m :f.m

*mf.* *dim e rall.*

|m.r :d.t, |d :— |{d'.t :l.s s :f.m} |{d'.t :l.s s :f.m} |{s.f :m.r.m m.r :d.t,} |{d d} :—
re - qui-em, do - na hu - ic re - qui-em,
|t,.s, :l,.t, |s, :— |d :d |d :d |d.r :s, |s, :—
|s.l :s.f |m.f :s.f |m :f.s |m :f.s |l :s.f |m :—
re - qui - em, do - na hu - ic re - qui-em,
|s.f :m.r |d.r :m.r |d :r.m |d :r.m |f :s.s, |d :—

*f.* *p.*

|m :-.m |m :-.s |fe :fe |s :— |d :r.m |m.s :-.f
do - na hu - ic re - qui - em, do - na hu - ic
|s, :l,.t, |d :m.r |d :r.d |t, :— |d :-.d |d.m :-.r
|s :-.se |l :-.t |d'.t :l |s :— |{s :l.ta m :f.s} |{ta :-.l s :m.f}
do - na hu - ic re - qui - em, do - na hu - ic
|d :-.t, |l, :d.t, |l, :{r r,} |s, :— | : | :

*mf.*

|m :r |d :— |d :r.m |m.s :-.{d' f} |{d'.t :l.t m.s :-.f} |{d' m} :—
re - qui - em, do - na hu - ic re - qui - em,
|d.t, :l,.t, |d :— |d :-.d |d.m :-.r |d :r |d :—
|{s s} :{s f} |{s m} :— |{s m} :{l.ta f.s} |{ta s} :{-.l m.f} |{s s} :{s s} |{s s} :—
re - qui - em, do - na hu - ic re - qui - em,
|s, :s, |{d d,} :— | : | : |s, :s, |{d d,} :—

*p.* *mf.*

d :r |m :s.f |m :— |— : |l :— |s :l.t
d :r |m :s.f

re - - - - qui - em, re - - - - qui -

d :— |— :m.r |d :— |— : |d :— |— :m.r

l :— |s :l.t |$d^1$ :— |— : |f :— |s :s
s |s :— |— :

re - - - - qui - em, re - - - - qui -

$f_1$ :f |m :$s_1$ |d :— |— : |$f_1$ :f |m :$s_1$

*p.* *rall.*

$d^1$ :— |— : |d :— |r :m |s :— |— :
m :— |— :

em, A - - - - - - - men

d :— |— : |$s_1$ :$l_1$ |$t_1$ :d |$t_1$ :— |— :

s :— |— : |m :— |s :$d^1$ |s :— |— :

em, A - - - - - - - men

d :— |— : |d :— |$t_1$ :$l_1$ |$m_1$ :— |— :

*mp.* *pp.* 𝄐

m :s |l :— |s :— |— :—
$l_1$ :$t_1$ |d :r |m :— |— :—

A - - - - - men.

d :$t_1$ |$l_1$ :$t_1$ |d :— |— :—

d :r.m |s :f |m :— |— :—

A - - - - - men.

$l_1$ :$s_1$ |$f_1$ :— |d :— |— :—
$d_1$ :— |— :—

## Act II. Golygfa IV. Ffair Rhuthyn.

*Yr Olygfa: Heol yn Rhuthyn, ddydd Ffair.*

*Yr Amser: Hwyr brydnawn, yn agoshau at amser cau y pyrth.*

Sylw. Cyfarwyddyd Arbennig. Ymddibynna llwyddiant yr Olygfa hon eto ar gyflymder, cydblethiad, a chydamseriad y symudiadau a'r siarad. Er y gall ymddangos yn anhawdd mewn argraff, eto gydag ychydig ofal ac ymarferiad cyson, gellir sicrhau hyn. Heb hynny methiant fydd.

(Yn gynulledig ger Porth y ddinas, oddifewn, Gruffydd Glyndwr (fel Bugail), a Syr John Hanmer (fel Masnachwr Gwlenyn), gyda'u nwyddau wrth y Porth R (A.a). Syr John Scudamore (fel Amaethwr) a'i nwyddau wrth y Porth L (A.e); Masnachwyr Seisnig yn bargeinio a'r tri; Meredith ap Owen (fel Llongwr llawen mewn diod); Llewelyn ap Gruffydd (fel Porthmon Ceffylau); Iolo Goch (fel Baledwr neu Glerwr); Rhisiart o Leyn, Huwco'r Hwntw, a Deio (fel Bechgyn o'r Wlad, ddydd ffair); Jane Glyndwr, Margaret Glyndwr, a Gwenfron (fel Merched Fferm yn y ffair); Madlen a Sioned (Merched Gweini yn y ffair); Milwyr Seisnig *yn rhodio ol a blaen* drwy'r dorf. *Symudiad parhau:* gan y naill neu'r llall o'r gwahanol bartion hyn Rhai o honynt yn myned i fewn ac allan L ac R 2 a 3, tan yn agos i ddiwedd yr Olygfa. Y rhan fwyaf o'r siarad *cyhoeddus* heb fod ymhellach i'r cefn na ffrynt C.a—C.e. Os bydd lle ar y llwyfan i hynny, gellir cynhyddu rhif y Cwmni tua'r cefn.)

*(Yn dyfod i fewn,* L 2, Hywel Gethin a Dafydd Seget, dau fyfyriwr teithiol, a'u ffyn a'u waleti. *Yn canu.)*

**Rhif 16.**—GAUDEAMUS IGITUR.*

Deuawd i efrydwyr Rhydychen.

Hen Alaw, y trefniad gan Robert Bryan

Doh C, *f,* *Maestoso.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| T. | d' .,s : s :d' | l .,l : l :— | t .,d' : r' :t | d' .m' : d' :— |
| B. | d .,m : m :d | f .,f : f :m | r .,d : $t_1$ :s .f | m .s : m :d |
| | Gaude-a - | mus i - gi - tur, | Juvenes dum | su - mus |

* Gellir canu ar y geiriau hyn,—

Llawenychwn felly'n awr,
Tymor ienctid ydyw hi;
Wedi ienctid llawn o hoen,
Wedi henaint llawn o boen,
Llwch a lludw fyddwn ni.

| *mf.* | | | *cres.* | |
|---|---|---|---|---|
| t .,d' : r' :r' | m' .d' : r' :r' | t .,d' : r' :r' | m' .d' : r' :r' | |
| s .,s : s :s | d .m : s :s | s .,l : t :s | d' .m : s :s | |
| Post jucun - dam | juventu - tem, | Post moles-tam | senectu - tem, | |

| *f* | | | |
|---|---|---|---|
| d' .,t : l :f'.r' | m' :r' :d' | d'.,t : l :f'.r' | m' :r' :d' |
| d .,m : f :r | s :— :l | d .,m : f :r | s :— :d |
| Nos ha-be - bit | hu - - mus, | Nos ha-be - bit | hu - - mus. |

RHISIART *(yn eu cyfarfod tua B.c).*—Os nad ydech chi'n dysgu rhwbeth yn well nag ydech chi'n dysgu canu tua'r colega yna, mi fase'n well i chwi aros adre, goelia i.

SEGET.—Mi dy ddysga i di i ddal dy dafod.

RHISIART.—Ti wnei 'rhyn fethodd pawb o dy flaen a'i wneud ynte!

SEGET *(yn rhoi ergyd iddo).*—Cymer hwnyna i ddechreu.

RHISIART *(yn rhoi ergyd yn ol).*—Mi 'rydw i'n ddyn gonest. Cymer dithe 'nene yn dâl am dano.

MILWR *(yn myned rhyngddynt a'u gwahanu).*—'Rwan! Dim cwffio yma, neu mi'ch cwffia i chi'ch dau!

Y DDAU.—Ychdi! *(yn ei gilwthio a rhodio tua'r cefn).*

MASNACHWR 1 *(wrth Hanmer).*—Be gymi di am dy wlenyn 'rwan?

HANMER.—Amser drwg ydy hi'n wir. Yr haul yn brin, y bwyd yn brin, y cnydau'n brin, y bobl yn brin, ac arian yn brinach na'r oll. Welis i riotshwn amser drwg. Cei'r lot i gyd am ugian merk.

MASNACHWR 2 *(wrth Scudamore).*—Faint yr hob ydy'r gwenith?

SCUDAMORE.—'Rw i am fod adre cyn nos. Os cymi di'r oll ti cei am bymtheg merk. Welest ti ffasiwn fargien yn dy fywyd.

MASNACHWR 3 *(wrth Gruffydd).*—Be'dy pris y gwlan heiddyw?

GRUFFYDD.—Ti gei heno am ddeg merk 'rhyn gostiai ugien iti heddyw'r bore. Welest ti 'rioed ffeiniach gwlan.

IOLO GOCH *(yn cerdded tua C.c. ac yn canu):*

## Rhif 17.—MERCHED CYMRU.

### Can a Chydgan.

BERIAH GWYNFE EVANS. ROBERT BRYAN.

DOH F. *Allegretto.*

Iolo Goch yn canu.
Dau fesur offerynol

*p*
| m :s | m :-.d | m.r :d.r | m :s |
1 Tlws yw creigiau glan-nau'r llynnoedd,
2 Tlws y lloer, a thlws yr heulwen

*mf*
| s :— | m :r.m | r :s.l | s :— |
Hai ho, y maent yn dlws,
Cydgan *mf*
| s :— | m :r.m | r :s.l | s :— |
Hai ho, y maent yn dlws
| s :— | m :r.m | r :s.l | s :— |
| s :— | m :r.m | r :s,.l, | s, :— |
Hai ho, y maent yn dlws
| s :— | m :r.m | r :s,.l, | s, :— |

*p*
| m :s | m :-.d |
Tlws yw'r pysg - od
Tlws yw gwen - au

| m.r :d.m | l :s |
yn y dyfroedd
llon y ser - en

Doh C.t. *mf*
| tm' :— | d' :r'.m' | r' :s | d' :— |
Hai ho y maent yn dlws,
C.t.
| sd' :— | d' :r'.m' | r' :s | d' :— |
Hai ho y maent yn dlws
| sd' :— | d' :r'.m' | r' :s | d' :— |
| s,d :— | d :r.m | r :s | d :— |
Hai ho y maent yn dlws
| s,d :— | d :r.m | r :s | d :— |

| d' :s | d' :-.d' | r'.d' :t.d' | r' :r' |
Tlws yw blod - au'r ddol yn tyf - u,
Ond er tlys - ed yd - yw rhein-y,

*f*
| d' :— | r' :s.l |
Hai ho, y
*f*
| d' :— | r' :s.l |
Hai ho, y
| d' :— | t :s.l |
| d' :— | s :s.l |
Hai ho, y
| d' :— | s :s.l |

| | | *f* | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| s :r' | d' :— | d' :s | d' :–.d' | m'.r' :d'.r' | m' :m' |
| maent yn | dlws, | Tlys-ach | yd - yw | merch - ed | Cymru, |
| s :r' | d' :— | | | | |
| maent yn | dlws, | | | | |
| s :t | d' :— | | | | |
| s :s | d' :— | | | | |
| maent yn | dlws, | | | | |
| s :s | d' :— | | | | |

f.F. *forte*

| | | | | *ff* | | | 𝄐 |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| $^{d'}$s :— | s :–.s | s :s | s :— | s :d' | l :s.l | s :t | d' :— |
| Hai | ho, y | maent yn dlws, | | Merched Cymru | | sydd yn dlws. | |
| $^{d'}$s :— | s :–.s | t :d' | t :— | s :d' | l :s.l | s :t | d' :— |
| Hai | ho, y | maent yn dlws, | | Merched Cymru | | sydd yn dlws. | |
| $^{d'}$s :— | s :–.s | s :s | s :— | s :s | l :s.l | s :s | s :— |
| $^{d'}$s :— | m :–.m | f :m | r :— | m :m | f :s.l | s :f | m :— |
| Hai | ho, y | maent yn dlws, | | Merched Cymru | | sydd yn dlws. | |
| $^{d'}$s :— | m :–.m | r :d | s, :— | m :d | f :s.l | s :s, | d :— |

[Ymddiddan rhwng Iolo Goch a rhai o'r merched cyn canu'r ail bennill.]

JANE A MARGARET *(tua C.d. yn curo'u dwylaw)*.—Da iawn, 'rhen wr. Cei lety nos a'r bwyd gore ym mwtri ffarm yr Hafod Lawen pan ddoi di heibio!

IOLO *(yn troi at Sioned a Madlen, Cb)*.—

Tlws y lloer, a thlws yr heulwen;
Tlws yw gwenau llon y seren.
Ond er tlysed ydyw'r rheiny
Tlysach ydyw merched Cymru.

SIONED A MADLEN *(yn codi eu dwylaw dros eu hwyn-ebau ac yn chwerthin)*.—Hi! Hi! Hi! Dos o'ne!

GWENFRON *(wrth Milwr, tua Bd)*.—Ond tydy o'n dda, o ddifri 'rwan!

MILWR *(yn chwerthin)*.—Haw! Haw! Haw! Mae ei gân o'n dda, ond mi 'rwyt ti'n well!

*(Yn ceisio rhoi ei fraich am ei chanol. Hithau'n slipio ymaith.* MARGLEE *yn dod i fewn*—R 3. GWENFRON *yn brysio allan* —L 2.)

MILWR *(wrth Llew ap Gruffydd)*.—Dyma'r Capten.

LLEW AP GRUFFYDD *(yn troi at Marglee tua Cb)*.—'Rwy'n deall fod arnoch eisieu ceffylau?

MARGLEE.—Oes gynnot ti rai?

LLEW AP GR.—Y goreu welaist erioed.

MARGLEE.—Dyna ddywed pob porthmon ceffylau.

LLEW AP GR.—Ie, ond tydy pawb ddim yn dweyd y gwir, fel fi.

MARGLEE.—Be sy gynnot ti?

LLEW AP GR.—Mi glywis fod yr Arglwydd Grey eisio march rhyfel. Mae gyn i ddau o'r siort ora. Mi hoffwn iti a'i Arglwyddiaeth eu gweled.

MARGLEE.—Wel aros. Mi a i i geisio ei Arglwyddiaeth ddod hefo mi i'w gweld nhw *(yn myned allan R3)*.

IOLO *(yn myned at y llanciau tua Cd)*.—Byddwch barod lads *(yn myned ymlaen tua'r porth ac yn dweyd ynghlust Gruffydd a Hanmer)*. Byddwch barod. Daw'r arwydd yn y munud bellach!

(GREY a MARGLEE *yn dod i fewn*—R 3. PAWB *yn ymgrymu neu gapio i* GREY. LLEW. AP GRUFFYDD *yn siarad a* GREY (tua C.b.) MARGLEE *yn myned ymlaen* hyd B.c.)

MARGLEE *(wrth y bargeinwyr o bob tu i'r porth)*.—Rhaid i chwi frysio i orffen bargeinio. Byddwn yn cau y pyrth yn y munud.

(JANE a MARGARET *yn dod i fewn*—R 2. SEGET a GETHIN *yn eu cyfarfod* (tua D.c.): *y pedwar yn siarad a chwerthin; yna yn myned allan bob yn ddau, fraich ym mraich*—L 3. GWENFRON a SIONED, a MADLEN *yn dod i fewn*—L 2. HUWCO, RHISIART, a DEIO *yn eu cyfarfod* (tua C.d.); *siarad, chwerthin, breichio bob yn ddau, a myned allan*—R 3.)

HANMER.—Wel, cau y lleill. Gad hwn yn agor funud bach ini gael clwad gennyt be ddaeth o Glyndwr?

MARGLEE *(mewn gwawd)*.—Hy! Glyndwr! Ni welir byth mohono mwy!

SCUDAMORE.—Taw dithe!

MASNACHWYR.—Wel, dene newy' da!

HANMER.—Sut digwyddodd, dwed?

MARGLEE.—Mi daliwyd o'n Mynachlog Ystrad Fflur. Llosgwyd y lle uwch ei ben, a rhostiwyd yntau'n fyw.

SCUDAMORE *(mewn braw)*.—Ai gwir yw hyn?

MILWR.—Mae'n eitha gwir. Mi 'roeddwn i yno. Mi gwelis i o yn y fflamiau, a hanner dwsin o gythreuliaid Annwn yn dawnsio o'i gwmpas o yn y tân.

GRUFFYDD.—Wel! Druan o Glyndwr!

HANMER.—A dyna'r cwbl drosodd!

MILWYR A MASNACHWYR SEISNIG *(yn chwerthin)*.—Ie'r cwbl drosodd. Ha! Ha! Ha!

GREY *(yn llym)*.—Cadben Marglee!

MARGLEE.—Ie, f'Arglwydd! *(yn myned ato)*.

GREY.—Galw filwyr y wyliadwriaeth. Cliria'r heol, a chau y pyrth!

(MEREDITH AP OWEN fel morwr hanner meddw *ymron syrthio ar draws* MARGLEE, *ac ymlaen* at y Porth L, *dan ganu.)*

MARGLEE.—Hoi! Filwyr! Ymrestrwch oll o'm blaen!

(Y MILWYR *yn ymgasglu i restru o flaen* GREY a MARGLEE (tua D.c., C.d.) *Swn chwerthin* yn y wings. SEGET a JANE, GETHIN a MARGARET, RHISIART a GWENFRON, HUWCO a MADLEN, DEIO a SIONED, *a bechgyn a merched ieuainc eraill bob yn ddau a dau yn dawnsio'n wyllt i fewn*—R 3 ac L 3, *gan ganu. Dawnsiant yn erbyn* PARTI GREY yn C.c.; *ar draws y* MILWYR yn D.c., C.d, *gan wahanu'r* MILWYR *oddiwrth* MARGLEE.)

Y DAWNSWYR *(oll yn canu'n uchel wrth ddawnsio)*—

Ffol di rol di ridl di ro,
Ffol di rol di rei do![1]

(MILWYR *yn cilio'n ol dan chwerthin yn uchel.* MARGLEE *yn ymaflyd yn un o'r merched, ac yn ei hadnabod fel* GWENFRON.)

MARGLEE.—Ha! Gwenfron aie! Mae yma frad! Cauwch y porth!

[1] Ceir y gerddoriaeth yn y Noson Lawen ar tudal. 37.

HANMER.—Rhy gynnar yw. Mae'n taro un! *(yn taro Porthor R i lawr).*

MEREDITH AP OWEN.—Mae'n taro dau! *(yn taro Porthor L i lawr).*

GRUFFYDD *(yn rhuthro ar Marglee).*—Gollwng Gwenfron, yr adyn!

(GLYNDWR a'i WYR cuddiedig *yn rhuthro i fewn* drwy'r Porth agored i *ymosod ar y Saeson.* Y MERCHED *yn cilio* tua'r *cefn.)*

Y CYMRY.—Glyndwr! Glyndwr!

MARGLEE A'R MILWYR.—Brad! Brad! } (Oll ar yr
Y MASNACHWYR SEISNIG.—Gwae! Gwae! } Un amser.

*(Ymladd* yn lledu o A.a, trwy B.b, C.c, a B.d, hyd A.e. GRUFFYDD *yn lladd* MARGLEE. GLYNDWR *yn taro cledd* GREY *o'i law.* MILWYR *yn taflu eu harfau i lawr.)*

MILWYR SEISNIG.—Ildiwn! Arbed!

GLYNDWR *(a'i gledd wrth wddf Grey).*—A ildi di'n garcharor, gwared neu beidio?

GREY *(yn edrych o gwmpas, gweld ei wyr wedi eu gorchfygu).*—'Rwy'n ildio, gwared neu beidio.

GLYNDWR.—Doeth y gwnaethost.

Y CYMRY.—Hwre! Glyndwr am byth!

IOLO GOCH.—Glyndwr oedd fawr o'r blaen. Mae heddyw'n fwy! Pob gelyn syrth o'i flaen! Dyrchafodd Glyndwr Gymru! Dyrchafed Cymru ef! Glyndwr, Tywysog Cymru bellach!

PAWB.—Hwre! Glyndwr, Tywysog Cymru! *(yn canu)*—

## Rhif 18.—BYW FO GLYNDWR.

### YMDEITHGAN.

Hen Alaw Gymreig. Y geiriau a'r trefniad gan ROBERT BRYAN.

DOH D. *Allegro Maestoso.* *f.*

Dau Fesur Offer-ynol.

T |l :l |l :l |m :m.ba |se :m |l :l |se.l :t.d' |
1 Do, dadweiniwyd ein cleddyf - au Byth ni chant eu
T |l :l |l :l |m :m.ba |se :m |l :l |se.l :t.d' |

B |l :s |f :f |m :m.ba |se :m |m :d |r.m :f.s |
2 Corn y gad sy' heddyw'n galw Dewrion Cymru i
B |l :s |f :r |m :m.ba |se :m.r |d :l, |t,.d :r.m |

|r' :r' |r' :m'.r' |d' :l |l :l |m :m.ba |se :m |
gweinio mwy, Tra bo gor - mes yn ein gor - or,
|l :l |l :t |d' :l |l :l |m :m.ba |se :m |

|l :l |l :se |l :s |f :r |m :m.ba |se :m |
ddod yng-hyd Dros iawn-der - au'r wlad i frwydro,—
|f :f |f :m |l :s |f :r |m :m.ba |se :m.r |

*ff.*

|l :l |se.l :t.r' |d' :l |l :-. |d' :m' |d' :m' |
Tra bo Cym - ru dan ei chlwy; Ni wna'r es - tron
|l :l |se.l :se.se |l :l |l :-. |d' :d' |d' :d' |

|m :d |m :-.m |l :l, |l, :-. |d' :s |d' :s |
Rhyddid idd - i tra bo byd! Dewrion Meirion,
|d :l, |m :-.m |l :l, |l, :-. |d' :d |d' :d |

|d' :m' |m' :r'.d' |t :r' |t :r' |t :-.d' |r'.m' :r'.t |
creu-lon et - o Liw-io'n gwlad â gwaed yr aer,
|d' :d' |d' :t.l |t :l |t :l |t :-.l |l :-.t |

|d' :s |s :s |s :fe |s :fe |s :-.l |l :-.se |
ced-yrn Maldwyn, Ar - wyr lu Er - yr - i fad,
|d' :d |s :s |s :r |s :r |s :-.l |f :-.m |

Gellir gadael allan yr ail bennill yn yr Ymdeithgan os dewisir.

*f.* ∧ ∧ ∧ *ff.*

| l :d' | t :-.l | m :m | m :-. | d' :d'.,d' | d' :-. |
Llwch a llud - w | yw ei gaer, | Banner Glyndwr,
| l :d' | t :-.l | m :m | m :-. | d' :d'.,d' | d' :-. |

| l :d' | t :-.l | m :m | m :-. | l :l.,l | l :-. |
Sydd yn rhuthro'n | awr i'r gad, | Ser - en Glyndwr,
| l :d' | t :-.l | m :m | m :-. | l :l.,l | l :-. |

D.C. i'r ail benill

| r' :r'.,r' | r' :-.r' | m' :m'.,f' | m'.r' :d'.t | l :d'.,t | l :— ‖
Banner Glyndwr, Sy'n | chwyfio hedd - yw | ar y twr.
| t :d'.,d' | t :-.l | t :t | t :d'.t | l :d'.,t | l :— ‖

| s {:l.,l / :fe.,fe} | s :-.l | se :se | se :-.se | l :d'.,t | l :— ‖
Seren Glyndwr, Gy- | fod-odd hedd - yw | ar ein gwlad.
| s :r.,r | s :-.f | m :m | m :-.m | l :d'.,t | l :— ‖

Dan Fesur Offerynol.

S | l :l | l :l | m :m.ba | se :m |
3 Wel - e wr - on | Cym-ru'n dy - fod
A | m :m | f :f | m :m.ba | se :m |
T | d' :d' | d' :r' | m' :m.ba | se :m |
3 Wel - e wr - on | Cym-ru'n dy - fod
B | l :s | f :r | m :m.ba | se :m.r |

| l :l | se.l :t.d' | r' :r' | r' :m'.r' | d' :l | l :l |
Buddug - ol - iaeth | yn ei wedd, | Llethwyd llu - oedd
| m :m | r.d :f.m | r :l | l :se | l :m | f :f |

| d' :d' | t.l :se.l | l :l | l :t | d' :d' | d' :r' |
Buddug - ol - iaeth | yn ei wedd, | Llethwyd llu - oedd
| d :l, | f.m :r.d | f :f | f :m | l :s | f :r |

| m :m.ba | se :m | l :l | se.l :t.r' | d' :l | l :-. |
trais a gorthrwm, | Gormes or - wedd | yn ei bedd, .
| m :m.ba | se :m | m :m | m :-.m | m :m | l :-. |

| m' :m.ba | se :m | d' :m' | r'.d' :t.se | l :d' | l :-. |
trais a gorthrwm, | Gormes or - wedd | yn ei bedd,
| m :m.ba | se :m | l :d' | t.l :se.m | l :l, | l, :-. |

*ff.*

d' :m' |d' :m' |d' :m' |m' :r'.d' |t :r' |t :r'
Croeso, croeso, ar - wr Cym-ru, Es - gyn wnei i
s :s |s :s |s :s |s :s |s :{l/fe} |s :{l/fe}

m' :d' |m' :d' |m' :d' |d' :t.d' |r' :r' |r' :r'
Croeso, croeso, ar - wr Cym-ru, Es - gyn wnei i
d' :d |d' :d |d' :d |s :s |s :r |s :r

*f.*

t :-.d' |r'.m' :r'.t |l :d' t :-.l |m :m |m :-.
or - sedd wen, Cor-on aur fydd ar dy ben.
s :-.m |l :-.se |l :d' |t :-.l |m :m |m :-.

r' :-.d' |d' :l.t |l :d' |t :-.l |m :m |m :-.
or - sedd wen, Cor-on aur fydd ar dy ben,
s :-.l |f :-.m |l :d' |t :-.l |m :m |m :-.

*ff.*

d' :d'.,d' |d' :-. |r' :r'.,r' |r' :-.r' |m' :m'.,f' |m'.r' :d'.t
Byw fo Glyndwr, Byw fo Glyndwr, Ty- wys-og Cym - ru
m :m.,m |m :-. |s {:l.,l / :fe.,fe} |s :-.l |se :se |se :-.se

l :l.,l |l :-. |t :r'.,d' |t :-.l |t :t |t :m'.r'
Byw fo Glyndwr, Byw fo Glyndwr, Ty- wys-og Cym - ru
l :l.,l |l :-. |s :r.,r |s :-.f |m :m |m :-.m

*fff Largo.*

l :d'.,t |l :— |d' :d'.,d' |d' :— |{f'/r'} :{f'.,f'/r'.,r'} |{m'/de'} :—
yw Glyn-dwr, Byw fo Glyndwr, Byw fo Glyndwr.
l :d'.,t |l :— |{l/f} :{l.,l/f.,f} |{l/f} :— |l :l.,l |l :—

d' :d'.,t |l :— |d' :d'.,d' |d' :— |{f'/r'} :{f'.,f'/r'.,r'} |{m'/de'} :—
yw Glyn-dwr, Byw fo Glyndwr, Byw fo Glyndwr.
l :d'.,t |l :— |f :f.,f |f :— |{l/r} :{l.,l/r.,r} |{l/l} :—

## DIWEDD YR AIL ACT.

NODIAD. Bu llawer brwydr ffyrnig wedi hyn, rhwng Glyndwr a'r Saeson. Ond fel rheol pan ddeuai byddin Harri i erlid Glyndwr, enciliai ef a'i wyr i fynydd-dir yr Eryri, lle nis gallai'r Saeson eu dilyn yn rhwydd. Pan droai'r Saeson yn eu hol, caent y Cymry drachefn wrth eu sodlau. Bu'r tywydd ystormus gwlyb hefyd yn gymorth i'r Cymry, a chiliai byddin Harri'n ol yn aml wedi torri eu

calon. Aeth y gair ar led drwy'r rhengoedd fod Glyndwr yn Bendewin, yn gallu galw'r mellt a'r storm, ac ysbrydion hefyd i'w gynorthwyo; ac aeth dychryn ei enw drwy'r wlad. Syrthiodd y rhan amlaf o gestyll y Normaniaid yng Nghymru o'i flaen. Yn lle gosod milwyr ynddynt i'w hamddiffyn, eu dryllio'n garn a wnae efe. Yng Ngheredigion a Deheubarth gwnaeth gymaint gwrhydri ag a wnaeth ym Mhowys a Gwynedd. Mewn brwydr fawr ym Mryn Glas, Maesyfed, gorchfygwyd Mortimer a chymerwyd ef yn garcharor. Y fath yn wir oedd llwyddiant Glyndwr a'r Cymry, fel v gwahoddodd Harri genhadon o Gymru i ymweled ag ef o dan deithnawdd, er ystyried amodau heddwch.

# ACT III. RHYDDID.

## GOLYGFA I. CASTELL CAERNARFON.

*Yr Olygfa.—Ystafell yn y Castell.*

*Amser.—Ar ol hanner dydd.*

☞ *Os ceir fod y Ddrama yn rhy hir gellir dechreu'r Olygfa hon gydag ymddanghosiad y Cenhadon Cymreig.*

Yn gynulledig: IARLL SOMERSET a DAFYDD GAM; PERCY HOTSPUR a'r ESGOB TREVOR; ac eraill; *yn ymgomio bob yn ddau a dau.*

(*Yn dod i fewn,* L 2, *y* BRENIN a'r TYWYSOG HARRI.)

Y BRENIN.—Arglwyddi Lloegr, Annerch!

OLL.—Ac i tithau, Frenin!

Y BRENIN *(yn troi at Trevor).*—Mae'th wyneb yn drist, fy Arglwydd Esgob.

YR ESGOB.—Adlewyrcha felly deimlad fy nghalon.

Y BRENIN.—Peth newydd yw gweled Esgob yn dromgalon! Pa ofid y sydd?

YR ESGOB.—A raid i'm ddweyd?

Y BRENIN.—Mae'r brenin yn dy orchymyn.

YR ESGOB.—Felly mae gorchymyn y Brenin ac eiddo fy nghydwybod yr un.

Y BRENIN.—Ufyddha i'r ddau ynte!

YR ESGOB.—Gwnaf. Pe costiai i mi dy ffafr, fy nyledswydd tuag ataf fy hun, tuag atat tithau, a thuag at fy Nuw yw dweyd mai pechod gwarthus, rhyfyg erch yn wir, oedd gosod llaw ar gysegredig wyr, urddedig weision y Goruchaf Dduw fel y gwnaethost ti a'th filwyr yn Llanfaes Mon, ac yn Ystrad Fflur. Cadd brenin arall o dy flaen di, neb amgen na Saul, Brenin Israel, dalu'n ddrud am feddwi cledd ei was â gwaed offeiriaid nef!

Y BRENIN *(yn chwyrn).*—Fy Arglwydd Esgob! Gormod hyn iti! Mae hyd yn nod i Esgob derfyn hawl—a therfyn sydd i oddefgarwch teyrn. Os wyt yn parchu'th ben rhaid i ti reoli'th dafod! *(Yn troi at Somerset).*

Wel, Somerset? A gesglaist ti y pridwerth i ryddhau de Grey o garchar Glyndwr?

SOMERSET.—Do. Deng mil o fercs—a thyngodd y Barwniaid ddeng mil o lwon wrth eu talu!

Y BRENIN.—Mae yn swm mawr, mae'n wir—ond llai na gwerth de Grey.

SOMERSET.—Mae llawer un yn ameu hynny'n fawr! A rhaid cydnabod fod y dreth yn drom, yn dod fel y mae, ar gefn holl draul y rhyfel drudfawr hwn yn erbyn Cymru.

Y BRENIN.—O bosibl y gwnawn i Gymru eto dalu'r oll—a mwy. Ond rhaid cael de Grey yn rhydd, costied a gostio, a thaled a dalo. Gofala dithau. *(Yn troi at Hotspur)* Fy nghefnder! Croesaw eto'n ol, a llongyfarchiad ar dy lwydd yn yr Alban draw. Gorchfygaist bob gelyn.

HOTSPUR *(yn moesgrymu)*.—Mae clod o'th enau di fel diliau mel imi. Ond, o rhyglyddais glod, 'rwy'n erfyn ffafr.

Y BRENIN.—Does neb a haedda'n well. Beth a geisi di?

HOTSPUR.—Carcharwyd de Grey gan Glyndwr, oni do?

BRENIN *(yn gwgu)*.—Do. Melldith ar ei ben!

HOTSPUR.—A'm brawd yng nghyfraith Mortimer?

BRENIN.—Gorchfygwyd yntau, a gwnaed ef hefyd yn garcharor ym mrwydr y Bryn Glas.

HOTSPUR.—Ffawd rhyfel a ddaeth i'r ddau. Fy nghais i yw hyn, ar i ti yn awr ryddhau fy mrawd yng nghyfraith Mortimer.

BRENIN.—Myfi? Carcharor Glyndwr, nid fy ngharcharor i yw ef.

HOTSPUR.—Mi wn. Yr un fath a de Grey.

BRENIN.—Ond byddai talu iawn dros Mortimer yn cyfoethogi Glyndwr yn fwy fyth, ac yn rhoi i'r bradwr fodd i ddwyn y rhyfel eto ymlaen.

HOTSPUR.—Ond gwna'r deng mil a delir dros de Grey hynny hefyd.

*(Utgorn yn seinio oddiallan.)*

Y Brenin.—Cawn weled eto. Cenhadon Glyndwr sydd yn awr yn dod.

*(Yn dod i fewn*—L 2—Iolo Goch; Syr Rhys Tewdwr; Syr John Hanmer; Syr John Scudamore; Llewelyn ap Gruffydd; a Meredith ap Owen. Ymrestrant o B.d. i A.e. Saif y Brenin tua A.b, a'r Tywysog ar ei dde. Ar ei aswy, tua B.b, a C.c., saif Arglwyddi Lloegr.)

Y Brenin.—Benaethiaid dewrion Cymru! Da yw gan Frenin Loegr eich croesawu. Blinder mawr i mi fu ac ydyw eich gweled chwi yn suddo yng nghorsleoedd brad pan fedrech rodio tir diogel teyrngarwch.

Syr Rhys.—Fy Arglwydd Frenin! Mae pob peth sy'n eiddo gwr, ei fywyd fel ei dda, i fod at alwad tri—ei Dduw, ei Wlad, a'i Deyrn. I Dduw ymlaenaf oll rhaid ufyddhau. Galwad ei Wlad yw'r nesaf a fedda hawl. Ac, wedi boddio Duw, a Gwlad, rhaid ufyddhau i'r Teyrn, a doed a ddel i'r gwr ei hun. Os Gwlad a eilw'n groes i alwad Duw, rhaid gwrando ar Dduw, nid ar Wlad. Pan fynno Teyrn ormesu Gwlad, ochra pob gwron gwladgar gyda'i Wlad—a boed y canlyniadau beth y bônt!

Y Cymry eraill.—A dyna'n safle ni!

Y Brenin.—Cawn weled yn y man ai nid yr un yw hawl eich Teyrn a'ch Gwlad. *(Yn troi at Iolo)*. Onc gwelaf yma Iorwerth Llwyd, mab Iarlles Lincoln uchel rad. Paham y gwelir ef yn tynnu cledd yn erbyn Teyrn a Gwlad ei fam?

Iolo Goch.—Fy Arglwydd Frenin, i Iolo Goch, fel i bob Cymro arall a deilynga gael ei alw'n Gymro, blaenora hawl Hen Wlad ei Dadau ar hawl pob gwlad arall.

Y Cymry eraill.—Clywch! Clywch!

Yr Esgob *(o'r neilldu wrth Hotspur)*.—Ha! Dyna air cyrhaeddbell iawn i mi!

Y Brenin *(yn troi at Hanmer)*.—A Hanmer yma gaf! 'Roedd dy dad, Syr John, yn Farnwr Llys yn Lloegr, ond yr wyt ti, ei fab, yn sathru deddfau gwlad dy dad!

Hanmer.—Nes penelin na garddwrn. Fy chwaer yw gwraig Glyndwr.

HOTSPUR *(o'r neilldu wrth yr Esgob)*.—A dyna air cyrhaeddbell iawn i minnau. Mae fy ngwraig yn chwaer i Mortimer!

Y BRENIN *(yn troi at Scudamore)*.—A Scudamore o Ewyas! Yr eryr yma'n dilyn barcud!

SCUDAMORE.—Uwch tyrrau'r Castell hwn eheda'r Eryr, —teyrn holl adar nef. O furiau'r Castell hwn ti weli dir Eryri'n codi'n uwch, ac uwch, i gopa'r Wyddfa Fawr—teyrn holl fynyddoedd Prydain. Pan enwi di Glyndwr, ti enwi Eryr Eryrod Eryri!

Y BRENIN.—Wel, waeth heb ddannod yma'n ddig y naill i'r llall. Dymunaf gymodi â chwi oll. A ydych chwithau am weld terfyn ar y rhyfel hwn?

SYR RHYS.—Felly y mae pob gwr yng Nghymru heddyw.

Y BRENIN.—A fynnech chwi adfeddiannu breiniau'ch gwlad?

SYR RHYS.—I'w hadfeddiannu y dadweiniais gledd!

Y BRENIN *(yn araf a phwysleisiol)*.—'Rwy'n cynnyg hyn, a mwy, i chwi yn awr.

IOLO *(yn rhoi hanner cam ymlaen)*.—Ymwelais, yn fy nydd, a phob ffair ymron drwy'r wlad. Ni welais eto un lle nad oedd y marsiandwr a gynygiai nwyddau da, yn disgwyl tâl da am danynt. Pa beth yw pris dy nwyddau di?

Y BRENIN.—Mae'r pris yn isel, a'r nwyddau, er mor dda, yn hynod o rad!

IOLO.—Ni welais eto werthwr a ddywedai lai!

Y BRENIN *(yn chwerthin)*.—Cei farnu drosot dy hun, yr anghredadyn gennyt! Y pris? Y peth cyntaf yw taflu arfau i lawr.

IOLO.—Cei arian parod os yw y pris yn deg. Gwaith rhwydd fydd diosg arfau ar ol arwyddo'r cytundeb.

Y BRENIN.—Y peth nesaf fydd plygu glin ger bron fy mab yn nhre Caerlleon. *(Yn taflu ei fraich dros ysgwydd y Tywysog)*.

SYR RHYS.—Mae calon Cymru'n gynnes ato ef.

Iolo.—Gwir iawn. Ond blinir llawer Cymro gan y cryd-cymalau hefyd.

Y Brenin.—Wel, dichon y ceir eli a'u hystwytha hwynt! Caiff fy mab fod i Gymru yn Dywysog, a bydd Lloegr a Chymru yn un, fel gwr a gwraig mewn rhwymyn serch priodas teg i'r ddau.

Syr Rhys.—Gwae fi na wawriai'r dedwydd ddydd! Ond beth a geir yn y cytundeb priodasol?

Iolo.—Ie, dyna'r cwestiwn mawr, a pha fodd y sicrheir yr hawl i'r wraig, fy Nghymru dlos ac anwyl! Am ugain mlynedd chwe gwaith drosodd mae Cymru wedi disgwyl, drwy ei dagrau gwaed, am y fath wynfyd priodasol ag a addawodd Iorwerth iddi gynt. Cymerodd Iorwerth bobpeth; ni chafodd Cymru ddim—ond gwawd, sarhad, a gormes.

Y Brenin.—Fy ngair brenhinol wystlaf fi y cewch yr hyn addewir. Symudir pob achos cwyn a chweryl mwy. Ca'r Cymro yn gyfartal bob rhyw hawl a ga y Sais fwynhau. Cewch gadw'ch gwlad. Cewch barchu'ch iaith. Caiff fy mab ddysgu siarad hon fel chwithau. Caiff eich Heglwys hefyd fod drachefn yn wir Hen Eglwys y Cymry!

Syr Rhys.—Ai gwir yw hyn, O Harri Frenin?

Y Brenin.—'Rwy'n tyngu llw i'r nef a'r ddaear y ca hyn barhau tra dwr yn Afon Menai!

Hanmer, Scudamore, Llewelyn, a Meredith.—Clod i Dduw!

(Iolo a Syr Rhys *yn ymgynghori'n ddistaw.)*

Iolo *(yn troi at y Brenin)*.—Mae'r nwyddau'n dda. Ond beth yw'r pris?

Y Brenin.—Dim ond yr hyn a ddywedais eisoes.

Syr Rhys.—Ac a yw'r cynnyg hwn i bawb yng Nghymru?

Y Brenin.—I bawb ond un.

Syr Rhys.—A hwnnw yw?

Y Brenin.—Glyndwr!

Syr Rhys.—Ac iddo ef?

Y BRENIN *(yn chwyrn)*.—Fel bradwr crogbren ga! Efe a achosodd yr holl helynt blin. Ei enw ef a glywir ymhob câd. Rhowch ben Glyndwr i mi, a chewch chwithau bob peth a geisiwch ar ran Cymru gennyf—ar fy ngair a'm llw!

(Y CYMRY *yn ymgynghori'n ddistaw.)*

SYR RHYS.—Trwy'th ganiatad dymunem ymneillduo i ymgynghori cyn dy ateb di.

Y BRENIN.—Wel, gwnewch. A rhodded Duw ddoethineb i chwi oll er mwyn eich gwlad—a chwithau!

(Y CYMRY *yn ymneillduo*—L 2—*y* SAESON *yn siarad a'u gilydd.* Y BRENIN *yn troi yn llawen at y* TYWYSOG.)

Y BRENIN.—'Rwy'n credu fod y gwaethaf trosodd bellach.

Y TYWYSOG.—'Rwy'n ofni fod y gwaethaf ar ddechreu!

DAFYDD GAM *(wrth Somerset)*.—Wel dyna ddiwedd ar Glyndwr!

YR ESGOB *(wrth Hotspur)*.—Nid yw y Brenin eto'n gweled mai ymgorfforiad o holl ddyheadau Cymru yw Glyndwr!

(Y CYMRY *yn dychwelyd*—L 2—IOLO GOCH *yn cymeryd hanner cam tua'r ffrynt, ac yn moesgrymu.)*

IOLO.—Fy Arglwydd Frenin! Gosodaist gyfrifoldeb trwm arnom ni ein chwech, i ddewis yma heddyw rhwng dau beth mor fawr a phwysig—heddwch a rhyfel, cyfle i Gymru ddadblygu ar y naill law, parhau y tywallt gwaed ar y llall. Ond eto gwyddom mai yr ateb sydd yn barod gennym ni yw yr ateb a rydd pob Cymro drwy y wlad.

Y BRENIN.—A'r ateb yw?

IOLO.—Cyn rhoddi'r ateb hoffem eto wneud un ymdrech deg a thaer ar ran y gwr sydd wedi gwneuthur cymaint, a aberthodd gymaint, dros ei wlad. Y rhan a gynhygir gennyt ti i ni ein chwech, mewn hedd, a pharch, a llwydd, i Owen Glyndwr dyro yn ein lle!

Y BRENIN *(yn chwyrn)*.—Pa beth! Gwobrwyo brad?

IOLO.—Na. Os wyt am gosbi yr hyn a elwi di yn frad, ond sydd i ni'n wladgarwch pur, os hawlio bywyd dyn yr wyt fel cosb am garu gwlad, wel cymer gennym ni—ac awn ein chwech yn llawen i'r warthus grogbren dros Glyndwr a'n gwlad!

Y BRENIN.—Ni newidiaf yr un iod na thipyn. Boed i ellyllon uffern boeni'm cwsg os y derbyniaf lai na phen Glyndwr!

IOLO.—Ac os gwrthodwn ni dy gynnyg di?

Y BRENIN.—Anrheithiaf eich gwlad â thân a chleddyf. Eich eiddo a ysbeilir; eich tai a wneir yn goel-certhi; caiff pob gwraig a morwyn yn eich gwlad dalu'n ddrud am ystyfnigrwydd ffol y gwŷr. Tosturi ni cheir mwy i fam na'i baban—a'r neb a arbedir gan y cledd, neu a ddihango o fedd yr haint a'r newyn, a fydd yn gaeth, efe a'i hil.

IOLO.—Wel, Frenin Lloegr! Dyma ateb Cymru!

(Y CYMRY *yn tynnu pob un ei gledd, ac yn taflu y wain wysg ei gefn i'r llawr.)*

Nid erys Cymru byth mewn hedd a thrais! Pob Cymro a dynn ei gledd a chyll ei wain fel na all mwyach weinio ei gledd nes yr enilla Cymru anibyniaeth lwyr!

Y BRENIN *(yn orwyllt)*.—Ai bygwth hyn a wnewch yn fy wyneb! Mi ddysgaf heddyw wers i Gymru oll! Hoi! Filwyr! *(Milwyr yn rhuthro i fewn)*. Cymerwch y chwe gwr lloerig hyn, a chrogwch hwynt ger bron y fyddin oll. Bydd hynny'n ysgub blaenffrwyth cynhaeaf dial Brenin Lloegr ar eu gwlad!

(Y MILWYR *yn agoshau at y* CYMRY. Y TYWYSOG *yn rhuthro rhyngddynt, yn troi i wynebu'r* MILWYR, *yn codi ei law yn awdurdodol.)*

Y TYWYSOG.—Na rodded un o honoch law i gyffwrdd un o'r Cymry hyn! Fel cennad gwahoddedig, y mae pob un o honynt yn gysegredig.

Y BRENIN *(yn troi yn ffyrnig arno)*.—Ti laslanc ffol! A raid dy yrru dithau'n ol i'r ysgol i ddysgu dal dy dafod. *(Yn troi at y Milwyr)*. Ffwrdd a'r chwech i'r crogbren!

HOTSPUR.—Nid chwech, ond saith. Anrhydedd pendefigaeth Lloegr sy'n gorffwys yn y cwestiwn hwn. Os crogir cennad sydd yn gysegredig ymhob llys a chad, nid yw yn gyson ag anrhydedd Hotspur i fyw i weld y gwarth. *(Yn croesi at ochr y Cymry).*

Y BRENIN.—Os wyt wedi blino ar dy fywyd, dos.

SOMERSET.—Fy Arglwydd Frenin, a fy mrawd wyt ti. I'm brenin ac i'm brawd dywedaf finnau'n glir na ellir goddef i ti wneuthur hyn. Gwneir enw Lloegr felly'n warth drwy wledydd Cred y byd. Cwyd barwniaid Lloegr oll i'th erbyn. Oni weli di, fy mrawd, mai ennill pleidwyr drwy y byd i Gymru a Glyndwr a fyddai i ti dorri'th air fel hyn?

*(Distawrwydd dwfn dros ennyd.* Y BRENIN *yn ceisio adfeddiannu ei bwyll.)*

Y BRENIN *(wrth y Cymry)*.—Bu eich pennau yn safn angau ei hun. Diolchwch chwi i'm brawd eich bod yn fyw! Ond ewch ymaith o'm gŵydd ar ffrwst. Gwybyddwch hyn—y dydd y gwelaf eto wyneb un o honoch ca hwnnw farw cyn machludo'r haul!

IOLO.—Fy Arglwydd Frenin. A welaist ti yr Wyddfa ucheldrem, fawreddog draw? Pa sawl ystorom gaeaf a gurodd arni hi? Pa le mae'r storm? Mae wedi treulio allan ei holl nerth—ond mae'r Wyddfa'n aros! Felly, storm dy lid a'th ddigter di at Gymru! A'r storm heibio, tithau Frenin yr un modd. Ond erys Cymru fyth, fel y Wyddfa fawr, a'i phen goruwch pob cwmwl, a gwenau heulwen llwyddiant a bri yr oesoedd ddaw a'i goreurant hi, ac ä ei chlod led-led daear faith ei hun.

(Y BRENIN *yn troi ei gefn yn ddirmygus arno.* Y MILWYR *yn myned allan*—L 1—Y CYMRY *yn myned allan*—L 2—*a* HOTSPUR *gyda hwynt.)*

YR ESGOB *(ar ei lin o flaen y Brenin)*.—Fy Arglwydd Frenin! Anturiaf eto godi'm llais ar ran fy ngwlad a'm cenedl ——

Y Brenin *(yn ffyrnig)*.—Os wyt yn caru'th wlad mor fawr a hyn—wel dos yn ol i Gymru. Gall Lloegr fforddio gwneuthur hebot ti a phawb o'th fath. Os caru Glyndwr yr wyt—dos, urdda ef yn Dywysog Cymru, os mynni! Ond ni chei godi'th lais o fewn llys Brenin Lloegr byth mwy!

(Y Brenin *yn troi at* Dafydd Gam a Somerset. *Yr* Esgob *yn codi, ysgwyd ei ben, a myned allan*—L 2. Y Brenin *yn edrych ar ei ol.)*

Y Brenin.—Wel, dyna wrthryfelwr arall. Mae gwrthryfel yng ngwaed pob Cymro, dybiaf fi!

D. Gam.—Na, nid pob Cymro chwaith. Mae yma un, o leiaf, y mae ei law a'i galon, ei gledd a'i einioes at dy wasanaeth yn erbyn Glyndwr.

Y Brenin.—'Rwy'n credu hynny. Tyred gyda mi. Mae gennyf air â thi.

*(Ant allan*—R 2, *Llen.)*

## ACT III. GOLYGFA 2. CYFFINDIR CYMRU.

*Yr Olygfa.—Gwersyll y Saeson.*

*Yr Amser.—Y Nos.*

*(Nifer o* FILWYR tua B.c *yn lledorwedd ar y ddaear. Cefn y llwyfan y tu ol iddynt yn dywyll. Dau yn sefyll gwyliadwriaeth un* tua A.a., *a'r llall* tua A.e. *Sain utgorn y gwersyll i'w glywed cyn bo'r llen yn codi.)*

☞ *Os ceir fod y Ddrama yn rhy hir gellir gadael allan yr oll o'r Olygfa hon.*

MILWR 1.—Mae'n dda cael cyrraedd nol i olwg Lloegr unwaith eto! Yh! Mae stormydd yr Eryri yn fy ngwaed o hyd!

MILWR 2.—A'r Cymry ar y creigiau'n waeth na'r storm ei hun!

MILWR 3.—A'r 'sbrydion drwg, oedd at alwad Glyndwr yn y storm ac yn y nos, yn waeth na'r ddau!

MILWR 1.—Ie, yn y 'sbrydion mae y drwg! Maent hwy, a Glyndwr, rhyngddynt, wedi dyrysu synhwyrau'r Brenin.

MILWR 2.—Ust, dyma ef yn dod!

MILWR 3.—Mae'n rhodio fel mewn cwsg, heb weld na chlywed dim!

*(Yn dyfod i fewn*—L 2—HARRI FRENIN. *Ei olwg yn wyllt. Rhodia* hyd A.c. *Edrycha'n ofnus dros ei ysgwydd aswy. Cymer y* MILWYR *a'r* GWYLWYR *arnynt beidio ei weled.)*

Y BRENIN.—Na! Goleuni'r gwersyll yw! Meddyliais mai fflamau Ystrad Fflur a welwn—a'r Abad yn eu canol! O! Fy mhen! Fy mhen! *(Yn codi ei ddwylaw at ei ben. Myned allan*—R 2).

MILWR 1.—Dywedaist nad oedd yn gweled na chlywed dim! Mae'n gweld a chlywed fwy nag a welwn ac a glywwn ni!

MILWR 2.—Mae gweld y Brenin pan fo ef yn gweld ysbrydion yn gyrru ias o ddychryn drwy fy asgwrn cefn.

MILWR 3.—Ust! Dyma'r Brenin yn ei ol!

(Y BRENIN *yn dod yn ol*—R 2. *Rhodia* hyd A.c. *Edrycha'n wyllt yn ol dros ei ysgwydd dde.)*

Y BRENIN *(yn ymson)*.—Mae fel pe tae ellyllon Gehenna o'm deutu ymhob man! Caf hyllach ofnau fyth pan af i'm gwely'r nos. *(Yn edrych dros ei ysgwydd dde ac aswy bob yn ail)*. Ai tybed y daw ysbrydion nol o'r bedd? Ah! *(Yn cilio'n ol)*. Yr Abad! Cadw draw! Naddo! Leddais i mo honot! Syrthio'n farw a wnest cyn imi dy gyffwrdd! *(Aros ennyd. Tynnu ei law dros ei dalcen)*. Pa beth sydd arnaf? Nid yr Abad oedd! Nid oedd ond cysgod fflam yn chwareu. Ond—Oh! Y boen sydd yn fy mhen!

*(Yn troi drachefn gan rodio* tua A.a., *a'i ddwylaw'n gwasgu ei ben.* MILWR *yn gadael i'w gledd glecian i'r llawr.* Y BRENIN *yn troi yn wyllt yn ol, yn tynnu ei gledd.)*

Y BRENIN.—Tydi Glyndwr sydd yna! Wel, 'nawr gwnaf ddiwedd arnat! *(Yn gwthio ei gledd fel pe yn trywanu gwr o'i flaen)*. Na! Nid oes neb! Dychymyg eto! *(Yn gosod ei gledd yn ol yn ei wain)*. Paham y daeth Glyndwr i fy meddwl? Ni all efe fod yma, gwn yn dda. Ond dyna'r enw sy'n seinio yn fy nghlustiau ymhob man! Glyndwr! Glyndwr! o hyd! Glyndwr a ddaw yn si yr awel yn y nos! Glyndwr a rua'r storm ganol dydd. Glyndwr sy'n esgyn uwch ac uwch mewn clod, tra enw Bolingbroke yn destyn gwawd gan bawb! Mae wedi ennill Mortimer o'i blaid. Mi wn fod ym mryd Hotspur ymuno gydag ef. Mae nef ac uffern i Glyndwr yn help! Efe sy'n gyrru yr ellyllon a ddont bob nos i'm poeni ar fy ngwely. Ond ni cha Bolingbroke o dan ei draed! Ar waethaf daear, nef, ac uffern ei hun, ei herio eto wnaf. Pe costiai imi gochi'r wlad i gyd gan waed, a cholli'm gobaith am Baradwys, mi fynnaf orchfygu a darostwng Glyndwr!

*(Yn myned allan*—L 2. *Llen.)*

## ACT III. GOLYGFA 3. SYCHARTH.

*Yr Olygfa.—Yr Ardd neu'r Lawnt.*

*Yr Amser.—Y Bore.*

☞ *Os ceir fod y Ddrama yn rhy hir gellir gadael allan ran neu yr oll o'r darnau yn yr Olygfa hon sy'n ymddiddan rhwng Glyndwr a Seget; rhwng Glyndwr a'r Esgob; a rhwng Jane Glyndwr a Grey. Neu, os bydd yr adnoddau cerddorol yn brin, gellir siarad, yn lle canu, y caru rhwng Mortimer a Jane, a rhwng Monnington a Margaret.*

(SIONED *yn rhedeg i fewn yn bennoeth*—R 2. HUWCO'R HWNTW *yn rhedeg ar ei hol, gan ei dal tua* A.C., *yn taflu ei fraich am ei chanol, a'i chusanu.)*

SIONED *(yn ei wthio ymaith).*—Welis i riotshwn beth erioed. Mi ddylasa fod cwilydd ar dy wymad di!

HUWCO.—Am beth, los fach? Am dy garu di?

SIONED.—Am fod yn lleidar!

HUWCO *(yn crafu ei ben).*—Lleidr? Nag w i yn y ngwir i!

SIONED.—Wyt, mi rwyt! Mi ddygaist y gusan yna!

HUWCO.—Bachan gonest w i. Dyma fe nol iti ynte!

*(Yn ymaflyd ynddi eto a'i chusanu.* DEIO'R GOF *yn dod i fewn*—R 1,—*ymaflyd yn* HUWCO, *a'i wthio ymaith.)*

DEIO.—Os gwnei di osod blaen dy fys ar Sioned eto mi dy dynna i di'n gyrbibion!

SIONED *(wrth Deio).*—'N ara deg, Deio bach. Be haru ti, dwad?

DEIO.—Be haru mi? Ond mi roedd hwn ——

HUWCO.—Bachan! Paid ti a ngalw i mâs o'n enw, sy oreu i ti. Huwco yw fy enw i, a cofia di hynny, was i.

DEIO.—Waeth gyn i be' dy dy enw di, na be wyt ti, chwaith. Ond paid rhoi bys ar Sioned, dene fydd well i ti.

SIONED.—Tad anwyl! Ars pryd rwyt ti, Deio, yn hawlio deyd pwy geith a phwy ni cheith gyffwrdd ynna i?

DEIO.—Ond roedd o ar dy ol di, hogan!

SIONED.—Ac mi rwyt titha ar f'ol i medda'chdi.

DEIO.—Ond mi roedd o yn dy gamdrin di, on' toedd o?

SIONED.—Tad anwyl, be gefist ti i feddwl hynny! Ond f'helpio i i roid hwn yn syth'r oedd o?[1]

HUWCO *(yn troi ymaith i chwerthin)*.—Wel taw'n i'n marw! Lodes y felldith yw hon!

DEIO *(a'i safn yn agored mewn syndod)*.—Oh! Mi ddylis i mai dwyn cusan oddi arnat ti 'roedd o!

SIONED.—Dyna be sy'n dod, Deio bach, o fesur pobl erill wrth dy lathen dy hun, wel di.

HUWCO.—Wel nawr, bydd di'n fachan bach piwr. Does dim ishe i ti a fi gwmpo mas am y groten yma. Mae digon o grotesi erill piwr digynnyg i gâl. Fe gymra i hon. Ti gei dithe dy ddewis o'r lleill.

SIONED *(yn troi ar Huwco)*.—Y creadur digywilydd! Ti wnei di fy nghym'yd i, wnei di! Wel gwnei, mae'n siwr, pan gei di gynnyg arna i.

DEIO.—Fy newis o'r lleill! Haerllugrwydd Hwntw ydy dod i Bowys i gymyd y pethe gore sy yma! Ac mi roeddwn i a hawl ar Sioned o dy flaen di ——

SIONED *(yn troi ar Deio)*.—Aie wir! Pwy ddeydodd hynny? Pwy rois hawl iti na neb arall ar Sioned, mi leiciwn i wybod?

HUWCO.—Da merch i! Rho di hi iddo fo yn biwr.

DEIO.—Ond Sioned bach, gwrando dithe ——

SIONED.—Ust! Gwrandewch eich dau rwan! Mae gen i air bach i'w ddweyd wrthych. Plygwch eich pene gael imi gael deyd wrthych.

(HUWCO a DEIO *yn plygu eu pennau tuag at* SIONED; *hithau'n ymaflyd ynddynt, yn taro eu pennau yn erbyn eu gilydd, ac yna yn rhedeg allan*—L I—*dan chwerthin.)*

HUWCO *(yn rhwbio ei ben)*.—Wel tawn i'n marw!

DEIO *(yn rhwbio ei ben)*.—Mae'r andros ynddi!

*(Y ddau yn rhedeg allan ar ei hol*—L I. *Yn dod i fewn*— R I—GLYNDWR a SEGET *yn ymgomio. Safant* tua A.C.)

[1] Gall Sioned yma ddangos ei chadach gwddf, ei mantell, neu ran arall o'i gwisg.

GLYNDWR.—A'r hyn sydd gennyt i'w ddweyd?

SEGET.—Rhaid imi grefu eich maddeuant, Syr Owen, am eich camarwain.

GLYNDWR.—Nid gwaith diberygl yw camarwain Glyndwr.

SEGET.—Mi a wn hynny yn dda. Eto hyderaf pan egluraf yr oll, y caf eich maddeuant.

GLYNDWR.—Wel dywed dy genadwri, Seget.

SEGET.—Nid Seget ydwyf mewn gwirionedd.

GLYNDWR *(yn troi arno)*.—Nid Seget? Pwy ydwyt ynte?

SEGET.—Mab ac etifedd y diweddar Syr John Monnington, o Henffordd. Ac fel Syr Roger Monnington anturiaf wneuthur peth na feiddiai'r myfyriwr tlawd Seget ei wneuthur.

GLYNDWR.—A hynny yw?

SEGET.—Ceisio llaw Margaret, merch Glyndwr yn wraig imi.

GLYNDWR.—Ti wyddost yr amgylchiadau y mae Cymru a Glyndwr ynddynt?

SEGET.—Gwn. A gwyddost tithau y rhan yr wyf finnau wedi ei gymeryd yn y rhyfel.

GLYNDWR.—Mi wn yn dda. Ond ai er mwyn Cymru, ynte er mwyn Margaret Glyndwr y gwnaethost?

SEGET.—Cymraes o Fon oedd fy mam. Dysgodd imi garu Cymru cyn i'm erioed gael syniad beth oedd caru merch. Wrth garu Cymru y cefais fantais gyntaf erioed i adnabod Glyndwr, a'i ferch.

*(*YR ESGOB TREVOR *yn dod i fewn—*L 1*—a phapurau yn ei law.)*

GLYNDWR.—Cawn amser eto, Syr Roger i siarad am hyn. Dacw'r Esgob Trevor yn dyfod i ymgynghori â mi. Mae Margaret yn y ty os ydwyt am ei gweled.

(SEGET*—yr hwn a elwir* MONNINGTON *o hyn allan, yn moesgrymu, ac yn myned allan—*R 1.)

GLYNDWR *(wrth yr Esgob)*.—Fe ddaeth y cennad?

YR ESGOB.—Do, daeth dau. Y cyntaf oddiwrth y Brenin.

GLYNDWR.—Yn chwythu bygythion ofer eto?

YR ESGOB.—Nage. Yn dwyn y deng mil merks fel pridwerth i ryddhau yr Arglwydd Grey.

GLYNDWR.—Da. Bydd yr arian o wasanaeth mawr i gario'r rhyfel eto ymlaen. A welaist ti De Grey?

YR ESGOB.—Do. Hysbysais ef beth oedd yr amodau ar y rhai yn unig y caffai ei ryddhau. Ymrwyma i beidio codi hawl byth mwy i'r Croesau, ac i beidio tynnu cledd byth mwy yn erbyn Cymru. Arwyddodd yr amodau. Dyma'r ysgriflen *(yn ei hestyn)*.

GLYNDWR.—Da eto. A'r cennad arall?

YR ESGOB.—Oddiwrth Hotspur. Mae yntau'n foddlon i'r cytundeb a awgrymwyd rhyngddo ef, a Mortimer, a thithau. Sefydlir Cyngrair taraw ac amddiffyn rhyngoch eich tri. Mae y tair byddin i ymosod ar Harri. Diorseddir ef. Rhennir Lloegr yn ddwy—y Gogledd i Hotspur, y De i Mortimer. Yr wyt tithau i gymeryd Cymru. Ond mae Hotspur ar y ffordd i Gymru i orffen y manylion, ac i arwyddo'r cytundeb.

GLYNDWR.—Trefna, ynte, ini gyfarfod yn nhy Dewi Daron, Deon Bangor, yn ei blas yn Aberdaron. Yno y mae Llysgenhadon Brenin Ffrainc a Brenin yr Alban i'm cyfarfod hefyd.

YR ESGOB.—Ac wedi hynny?

GLYNDWR.—Paratoer y wys i alw pedwar o bob cantref yng Nghymru i gyfarfod mewn Senedd ym Machynlleth.

YR ESGOB.—Ac yno y'th goronir yn Dywysog Cymru.

GLYNDWR.—Os yr Arglwydd a'i myn, ac os dewisa'r penaethiaid.

*(Ant allan—*L 1.)

(JANE *yn dod i fewn—*L 1. ARGLWYDD GREY *yn dod i fewn—* R 1*—yn dynesu at* JANE, *a moesgrymu.)*

GREY.—Bore da, fy Arglwyddes Jane.

JANE *(yn troi ato)*.—Ac i chwithau, fy Arglwydd Grey.

GREY.—Ceisiais chwi er cael gair â chwi cyn fy myned.

JANE.—Eich myned?

GREY.—Ie. Daethum yma yn garcharor. Mae'r Brenin wedi prynu fy rhyddid. Byddaf yn ymadael heddyw yn ddyn rhydd. Dychwelaf yn y man i gyrchu arall i garchar.

JANE.—Nid dyma'r tro cyntaf i Sais fygwth cymeryd Glyndwr yn garcharor—a methu.

GREY.—Nid bygwth ydwyf, ac nid Glyndwr ond chwi a geisiaf yn garcharor.

JANE.—Myfi? Ond pa drosedd a gyflawnais?

GREY *(yn syrthio ar ei lin)*.—Y trosedd o ladrata calon Reginald de Grey.

JANE.—Os gwnaethum, yn ddiarwybod imi fy hun y gwnaethum. Nid wyf am gadw eiddo lladrad. Cymerwch yr eiddoch yn ol, a'ch croesaw, fy Arglwydd Grey! *(Yn troi ymaith)*.

GREY *(yn codi, ei chanlyn, gosod ei law ar ei braich)*.—Na, f'Arglwyddes Jane! Gwrandewch! Nid wyf am ei chael yn ol—ond cymeraf gyfwerth am dani.

JANE.—Marsiandiwr yn bargeinio yw fy Arglwydd Grey felly!

GREY.—Na. Pan fyddo pendefig o Sais yn cynnyg ei law a'i galon ——

JANE.—Cynnyg? Tybiais i chwi ddweyd ddarfod imi ei lladrata!

GREY.—Felly y gwnaethoch—eithr nid o'm hanfodd.

JANE.—Ai o fodd ai o anfodd nid wyf am gadw yr hyn nad yw eiddof fi *(yn troi ymaith)*.

GREY *(yn ei hatal)*.—Ond y mae yn eiddo i chwi, brydferth Jane! Fy llaw, a'm calon, a phob peth a feddaf.

JANE.—Gadewch ini ddeall ein gilydd, fy Arglwydd Grey. Dywedasoch fy mod wedi lladrata eich calon—dyna drosedd. Yna dywedasoch eich bod am gael cyfwerth am dani—dyna fargeinio. Yn awr dywedwch eich bod yn ei rhoddi i mi—dyna anrheg. Hoffwn wybod, fy Arglwydd Grey ai lladrad, ai bargen, ai anrheg yw?

GREY.—Ceisiaf egluro. Yr wyf am fyw mewn heddwch â Syr Owen de Glendore ——

JANE.—Gresyn na fuasech wedi gwneud ynghynt. Ond gwell hwyr na hwyrach.

GREY.—Mae'r amgylchiadau wedi newid.

JANE.—Ydynt, mae'n amlwg! Mae fy Arglwydd Grey i gael gwraig; mae Cymru i gael heddwch. Pa beth a ga Jane Glyndwr?

GREY.—Bydd Jane Glyndwr yn Arglwyddes Grey!

JANE.—Anrhydedd uchel, mae'n siwr! Ai dyna'r oll a ga?

GREY.—A thir y Croesau'n waddol oddiwrth ei gwr.

JANE.—Ond eiddo Glyndwr, nid Arglwydd Grey, yw tir y Croesau!

GREY.—Dyna'r ddadl o'r cychwyn. Ond gyda thir y Croesau yn eiddo i chwi, a chyda'r deng mil merks a dalodd y Brenin yn bridwerth am fy rhyddhau yn eiddo i minnau ——

JANE.—Yn eiddo i chwi? Onid i'm tad y talwyd yr arian?

GREY.—Ie. Ond cymeraf yn ganiataol y bydd i'ch tad ei roi imi fel gwaddol gyda chwi ——

JANE.—Ac felly, fy Arglwydd Grey, yr ydych yn disgwyl tal da am eich brad!

GREY.—Fy Arglwyddes Jane! Fy anwylyd ——

JANE.—Mae'r gair o'ch genau am ferch y gwr y gwnaethoch gymaint o gam ag ef, yn atgas yn fy nghlustiau. Gwnaethoch frad a'm tad yn Llys y Brenin. Daethoch dan gochl cyfeillgarwch i Sycharth i'w fradychu. Ac yn awr yr ydych yn disgwyl cael Merch Glyndwr a thir Glyndwr, ac arian Glyndwr, yn dal am eich brad!

GREY.—Na! Gwrandewch! Ceisio eich llaw yn wraig imi yr ydwyf!

JANE.—Fy llaw i'r gwr a dywalltodd gymaint o waed dewrion Cymru! Fy llaw i'r gwr a fynnai osod fy nhad ar y crogbren! Yr ydych yn camddeall Merched Cymru i dybied y fath beth yn bosibl am foment! Pan gaffoch chwi, Arglwydd Grey, law Merch Glyndwr, bydd dagr

yn ei llaw hi ac yn dy galon dithau! A dyna'r gair olaf a ddywed Jane Glyndwr byth wrth Arglwydd Grey!

*(Yn myned allan*—L 2. GREY *yn myned allan*—R 2.)

(MORTIMER *yn dod i fewn*—R 1. *Sefyll* tua *A.d.; yn edrych tuag i fyny ac yn canu.)*

MORTIMER *(yn canu).*

**Rhif 19.**—SWYNION SERCH.

Yr alawon a'r telynegion wedi eu cyfaddasu o alawon a thelynegion Ffrengig.

ROBERT BRYAN.

(MORTIMER *yn dod i fewn*—R 1. *Sefyll* tua A.d., *yn edrych tuag i fyny ac yn canu.)* Dau fesur offerynol.

DOH E. *Audante* *mp*.

{| m :m :m | m :— :r | s :— :f | m :r :d }
{| O gwran-do | di, f'an - | wyl - - yd | lan, Dy }

{| r :— :r | r :— :m | f :m :r | d :— :— }
{| wen - - au | llon, O | dy - - ro | di. }

*mf*
{| m :m :m | m :— :r | s :— :f | m :r :d }
{| Am en - nyd | gwran - do'm | hwyr - ol | gân, Mi - }

{| r :— :r | r :— :m | f : :r | d :— :— | — ||
{| rein - - iaf | gân, fy | nhel - - yn | i. | ||

JANE *(yn dod i fewn* L 1).—Mae gan fy Arglwydd Mortimer syniad uchel iawn am ei forwynig wen, gan nad pwy yw honno.

(MORTIMER *yn canu.)* [A.] Un mesur offerynol.

*f* *mp*
{| s, :d :m | s :— :l | s :— :f | m :— :m }
{| Llawn yw y | nef o | ddis - glair | ser, A'r }

*rall e dim* *f a tempo primo.*
{| m : : || s :— | f :— | r :— | — : || s, :d :m }
{| aw - - el || mud yw | hi, || Ond gwel-wa }

rit. mp
{| s :— :l | s :l :t | d' :s :m | s :f :r | d :— :— | — ||
{| ser y | nef - oedd | fry, Pan | wel - ant | di. |

JANE *(yn chwerthin)*.—Rhaid i Iolo Goch edrych ati, neu mi fydd yr Arglwydd Mortimer yn dwyn ei lawryf ef! Ond— *(yn troi ymaith tua* L2 *tan ganu* [B.]

DOH A. *mp* Dau fesur offerynol.
{| m :m :m | m :— :r | s :— :f | m :r :d }
{| Nid mwy i | mi dy | hwyr - ol | gân, Na }

{| r :— :r | r :— :m | f :m :r | d :— :— }
{| su - - o | gan - u | chwa - on | haf, }

*mf*
{| m : :m | m :— :r | s :— :f | m :r :d }
{| Ym - rith - io'n | un o | deu lu | glân, Y }

{| r :— :r | r :— :m | f :m :r | d :— :— | — ||
{| mor a'i | don - nau | glas a | wnaf. |

*(Yn myned allan—*L 2*—a* MORTIMER *yn ei dilyn.)*

(MONNINGTON *yn dod i fewn—*L 1*—sefyll* tua A.b., *edrych tuag i fyny ac yn canu.)*

**Rhif 20.**

DOH A. *Andante dolce.*
{: .m | m :f | m :-.m | r :s | s :-.m | r :m | r :-.r | d :m | m :-.d }
{ Mor | lan yw hi, Mor | llawn o hud; Fel | un o ser y | nefoedd fry, Pel- }

*cres* *f* *dim* *rall*
{| m :f | s :-.s | s :m.f | s :-.d | r :f | m :-.r | l, :t, | d :— ||
{| ydru mae, Mi | her - ia'r byd I | ddangos tecach | lygaid cu. ||

(MARGARET *yn dod i fewn—*R 1,*—blodeuyn yn ei llaw, yn tynnu ei ddail, ac yn edrych tua'r llawr.* MONNINGTON *yn troi ati ac yn canu.)*

[C].

*mp* DOH A.
{: .m | m :f | m :-.r | d :t, | d :l,.m | m :l | se :-.f | m :r | d :-.m }
Ty-di yw'r fun hawddgar -a sy, Ar wyneb dae'r, mi haeraf hyn; A

*mf* E t. *rit.* *p.* *rit*
{| m :s | d' :-.t | t :m' | m' :-.r' | d' :t | l :m'.r' | t :-.d' | l :— ||
{| mwy tlys - in - eb, | Myn fy ffydd, Nid | oes ymhlith ang- | yl - ion gwyn. ||

[D.] (MARGARET *yn canu.)*

DOH E. *mp*

{:.f |m :f |m :-.m |r :s |s :-.m |r :m |r :-.r |d :m |m :-.d }
{ O |brydydd dywed |im-i hyn, Pa|le yr wyt yn |awr yn byw? Y }

*cres* *f* *dim e rall*

{|m :f |s :-.s |s :m.f |s :-.d |r :f |m :-.r |$l_1$ :$t_1$ |d :— }
{|mhlith y glan ang-|yl-ion gwyn, Neu|mhlith gwael deul|u dynol-ryw. }

{|— :— ‖ *(Y ddau'n myned allan a hi eto'n canu.)*

(MORTIMER a JANE *yn dod i fewn*—R 1. JANE *gam neu ddau o'i flaen ef, ac yn edrych tros ei hysgwydd arno gyda gwên. Y ddau'n sefyll* tua B.c. MORTIMER *yn canu.* [*Gweler* A.]).

O gwrando fi! Os byddi di
Yn un o deulu'r lli;
Pysgotwr yna byddaf fi
I'th ddala di.

(JANE *yn canu.)* [Gweler B.]
Os mynni di'n bysgotwr fod,
Ar fryd fy nal, trwy daflu bach,

*(yn troi ymaith)*
Ehedaf draw i eitha'r rhod

*(Myned hyd* L 2, *a throi'n ol.)*
I'r llwyni coed ar aden iach.

*(Yn myned allan*—L 2—*dan chwerthin.* MORTIMER *yn canlyn.)*

(MONNINGTON a MARGARET *yn dod i fewn*—L 1. MONNINGTON *yn dal llaw* MARGARET, *yn sefyll* tua B.c. *ac yn canu.)* [Gweler C.]

Mor brydferth wyt, mor loew lân,
'Rwy'n teimlo'n wir yn amal fraw,
Rhag i gusanau serch ar dân
Ddifwyno sidan gwyn dy law.

*(Yn cusanu ei llaw.)*

(MARGARET *yn edrych ar ei llaw, ac yn canu.)* [Gweler D.]

Ddifwynaist ti y sidan gwyn,
Ddywedi di sy'n wisg i'm llaw?
Os dyna wnest, dywedaf hyn
Mai gwell i mi dy gadw draw.

*(Myned allan*—R 2—*a* MONNINGTON *yn ei chanlyn.)*

(MORTIMER a JANE *yn dyfod i fewn*—R 1.)

MORTIMER.—*Yn canu.* [Gweler **A.**]

O gwrando fi, os byddi di,
Yn un o'r adar lu;
Yn rhwydwr yna byddaf fi
I'th rwydo di.

*(Safant tua B.c.)*

(JANE *yn troi ato, ac yn canu.* [Gweler **B.**]

'Rwy'n credu weithian nad o wawd
Bu'r swynol ganu dinacâd;
Ac wele iti'r fodrwy wnawd
I'm dwyn mewn cof. O lencyn mad.

*(Yn estyn modrwy iddo. Myned allan*—L 2—*efe a'i fraich am ei chanol hi.)*

(MONNINGTON a MARGARET *yn dod i fewn*—L 1. *Safant tua* B.b. MONNINGTON *yn canu.* [Gweler **C.**]

'Rwy'n plygu'n wylaidd ar fy nglin
Fel plentyn ofnus ger dy fron;
Yn swyn dy lais, a'i ddwyfol rin,
Breuddwydio 'rwyf am Wynfa lon.

*(Yn plygu ei lin, ac yn gafael yn ei llaw.)*

(MARGARET *yn canu.)* [Gweler **D.**]

Os ar dy liniau, lencyn mwyn,
Y plygi yma ger fy mron,
Dy godi raid, yn rhinwedd swyn
Ein cariad ni, i wynfyd llon.

*(Yn ei godi. Y ddau'n cofleidio.)*

(MORTIMER a JANE *yn dod i fewn*—R 1—*yn canfod* MONNINGTON a MARGARET *yn cofleidio. Mortimer yn chwibanu; Jane yn chwerthin.)*

JANE.—Ai dyma'r gwaith pwysig oedd gan fy chwaer mewn golwg pan wrthododd ddod i rodio gyda mi ers awr yn ol?

MARGARET.—Awr yn ol! Nid oes brin pum munud er ——

JANE *(yn chwerthin)*.—Oh, ie! 'Rwy'n cofio! Nid oes cyfri amser yn bod yn y Wynfa lon lle buost ti!

MARGARET.—A'r lle 'rwyt tithau eto, ddyliwn i!

MORTIMER.—Os nad wyf yn camgymeryd mae fy nghyfaill Syr Roger Monnington a minnau wedi bod yn rhodio cyffelyb lwybrau.

MONNINGTON.—Ac maent yn arwain i gyffelyb ddiwedd.

MORTIMER.—Cyffelyb ddiwedd? Nid oes ddiwedd i fod i'r llwybr a rodiwyd gennym ni heddyw!

## Rhif 21.—TRA BO'R WYDDFA.

Pedwarawd i S,A.T.B.

Y geiriau gan BERIAH GWYNFE EVANS.

Alaw Gymreig. Y trefniad gan ROBERT BRYAN.

(Heb gyfeiliant).

DOH C. *Andante Dolce.*

|m :f |s :s |s :s |s :s |f :m |r :f |f :f
1 Tra bo'r Wyddfa yn Er - yr - i, Tra bo dwr yn nhonnau'r
2 Deued cwmwl, deued heulwen, Goleu lloer, neu wenau
| : |d :r |m :t, |d :d |r :d |t, :d |r :d
1 Tra bo'r Wyddfa yn Er - yr - i, Tra bo dwr yn
2 Deued cwmwl, deued heulwen, Go - leu lloer neu
| : |m :f |s :s |s :s |s :s |f :m |r :m
|d :r |m :t, |d :r |m :m |t, :d |r :l, |t, :d
1 Tra bo'r Wyddfa yn Er - yr - i, Tra bo dwr yn nhonnau'r
2 Deu - ed cwmwl, deu-ed heulwen, Go - leu lloer neu wen-au

mf

|f :f |m :r |d :m |m :m |m :m |r :d
hel - i, Tra bo mor, a thra bo myn-ydd, Bydd-wn
ser - en, Gae - af ger - win, hy-fryd haf-ddydd, Bydd-wn
|t, :l,.t, |d :s, |l, :t, |d :se, |l, :d |l,.t, :d
nhonnau'r hel - i Tra bo mor, a thra bo mynydd,
wen-au ser - en, Gae - af ger - win hyfryd haf-ddydd
|f :f |f :f |m :r |d :r |m :m |f :m
|r :r |l, :t, |d :se, |l, :t, |d :l, |f,.s, :l,
hel - i, Tra bo mor, a thra bo myn - ydd, Byddwn
ser - en, Gae - af ger - win, hy - fryd haf - ddydd, Byddwn

rit. p. a tempo.
s :s |s :s |r :f |m :r |d :— |d :d
ni yn bur i'n gil - ydd,—Er pob cur, fel y
ni yn bur i'n gil - ydd,— Fel y dur, er pob
t,.t, :t,.t, |d :m.d |t, :r |d :t, |d :— |d :d
Byddwn ni yn bur i'n gil - ydd,— Er pob cur, fel y
Byddwn ni yn bur i'n gil - ydd, - Fel y dur, er pob
s.s :s.s |s :s |s :s |s :s |s :l |s :f
s, :f |m :d.m |s :s, |d :r |m :f |m :r
ni yn bur i'n gil - ydd,—
ni yn bur i'n gil - ydd,—

cres. mf
d :— |f :m |r :— |r :r |r :— |m :f
dur Er pob cur, fel y dur, Bydd - i
cur Fel y dur er pob cur,
d :s,.l, |t, :d |r :— |r :r |r :l,.t, |d :d
dur, Er pob cur, fel y dur, Bydd - i
cur, Fel y dur, er pob cur,
m :— |f :s |l :t |l :s |f :— |s :s
d :— |r :m |f :s |f :m |r :— |d :r

p Y pennill cyntaf. dim e rall
s :s |m :s |l :l || s :f |m :m |r :r
di, a bydd-af in - nau || A'n ca- lon - nau fyth yn
d :d |d :d.m |re :re || |s, :d |d :t,
di, a bydd-af in - nau || A'n cal - on - nau
s :s |ta :ta |l :l || |d :m.s |l :s.f
m :m |s :s |f :f || p m :r |d :d,.m, |f, :s,
A'n ca - lon - nau fyth yn

D.C. Yr ail bennill p rit.
d :— |— :— |— :— || |s :f |m :m
bur. A'n ca - lon - nau
d.s, :l,.ta, |l, :s, |— :— || p m :r |d.s, :l,.t, |d :ta,
fyth yn bur. A'n ca - lon - - - nau
m :f.s |f :m |— :— || s :f |m :s |— :s
d :— |— :— |— :— || |m :r |d :de
bur. A'n ca - lon - nau

*Adagio*

r :r |d.r .m.f |s :— |l :l |s :— |— :—
fyth yn bur, fyth yn bur,
$l_1$ :$t_1$ |d.$t_1$ :d.r |m :— |d :r |m :— |— —
fyth yn bur, fyth yn bur,
f :s.f |m.r m.f |s :— |l :t |$d^1$ :— |— :—
r :$s_1$ |$l_1$.$t_1$ d.r |m :— |f :$f_1$ |d :— |— .—
fyth yn bur, fyth yn bur.

*(Llen.)*

## ACT III. GOLYGFA IV. MACHYNLLETH.

*Yr Olygfa.—Ystafell y Coroni yn y Senedd-dy.*

*Amser.—Canol dydd.*

SYLW. Cyfarwyddiadau Arbennig. Yn wahanol i amryw o'r Golygfeydd blaenorol, dylai y rhan fwyaf o'r gweithrediadau yn yr Olygfa hon fod yn araf ac urddasol, heb ddim arddanghosiad o frys mewn unrhyw symudiad. Ar yr un pryd dylai pob cymeriad fo'n cymeryd rhan, fod yn barod i symud neu siarad yn ei dro fel na byddo dim oediad o gwbl o'r dechreu i'r diwedd. Ychydig amser a gymer felly.

Pan godir y llen ar ddechreu'r Olygfa bydd yn gynulledig yn ymarferol yr oll o aelodau'r Cwmni, yn ddynion ac yn ferched, oddigerth y rhai fydd yn cymeryd rhan yng ngorymdaith y Tywysog. Safant yn ddwy ran o hanner cylch o bob tu i'r Orsedd, o D.c. trwy C.b., B.a., ac A.a., ar y Dde i'r Orsedd, ac o D.c., trwy C.d., B.e., ac A.e., ar yr Aswy, ac wedi eu trefnu yn y fath fodd fel y byddo pob un yn glir yngolwg y gynulleidfa, gan adael y lleoedd agosaf at yr Orsedd yn wag i'r rhai fydd yn dod i fewn yn yr orymdaith

Saif yr Orsedd ar lwyfan yn D.c., gyda Banner y Ddraig Goch yn crogi uwch ben. Wrth droed y llwyfan hwn, saif tair cadair, un ar y gongl dde, un ar y gongl aswy, ac un yn y canol. Bwrdd (neu allor), a Chroes arni, ar y llwyfan ar y dde i'r Orsedd.

(*Sain utgorn* oddiallan. GORYMDAITH Y TYWYSOG yn dod i fewn—R 1; yn rhodio bob yn ddau a dau yn y drefn a ganlyn, yng nghyntaf o A.a., hyd A.e., yna yn troi yn ol hyd B.b., ac yna i'w lleoedd: YR ESGOB TREVOR *(yn cario'r Groes)*, a DEWI DARON, Deon Bangor *(yn cario'r Goron)*; IOLO GOCH *(yn cario'r Deyrnwialen)*, a Syr EDMWND MORTIMER *(yn cario Cledd y Coroniad)*; Syr RHYS TEWDWR a Syr JOHN HANMER; Syr JOHN SCUDAMORE a Syr ROGER MONNINGTON; OWEN GLYNDWR *(yn rhodio yn ben-noeth, ac heb gydmar)*; YR ARGLWYDDES GLYNDWR a JANE; MARGARET GLYNDWR a GWENFRON; GRUFFYDD GLYNDWR a DAFYDD GAM.

Y cyntaf a enwir uchod o bob dau *yn croesi* tuag L ar ol cyrraedd B.b., ac *yn rhestru* yn eu trefn tua D.c. a C.d.; ei gydmar *i aros* R, *gan restru* tua D.c, a C.b. OWEN GLYNDWR, gyda'i ARGLWYDDES ar y naill law a JANE ar y llall, *yn sefyll* o flaen eu cadeiriau, gan wynebu'r gynulleidfa tan y terfynno yr Anthem, pryd *yr eisteddant*.[1] YR ESGOB a'r DEON ar flaen yr orymdaith, *yn esgyn* y llwyfan, lle *y safant* un o bob tu tu cefn

[1] Os dewisir gall Margaret Glyndwr sefyll tu ol i gadair ei mam, a Gwenfron y tu ol i gadair Jane.

i Gadair Glyndwr. IOLO a MORTIMER hefyd *yn esgyn* gan *sefyll* un ar bob congl o ffrynt y llwyfan.

*Yr Anthem* i ddechreu cyn y delo'r orymdaith i'r golwg, ac i derfynnu gyda bod pawb wedi rhestru yn eu lleoedd.

### Rhif 22.—BENEDICTUS.*

Y Mynachod a'r Disgyblion yn canu.
Cydgan i S. A. T. B.

DOH B♭. *Adagio religioso*, 9 *curiad i'r mesur.*

*pp.* … *p.* … *mf.*
S. | s, :— :m, |l, :— :— |s, :— :— | d :— :t, |r :— :— |d :— :r
A. | m, :— :m, |f, :d, :r, |m, :— :— | s, :— :s, |l, :— :t, |d :— :t,
Be - ne-dic - - tus | Be - ne-dic - tus qui
T. | d :— :ta, |l, :— :t, |d :— :— | m :— :r |f :— :— |m :— :s
B. | d, :m, :s, |f, :— :— |d, :— :— | d, :m, :s, |r, :f, :s, |l, :— :s,

F.t. … *f*
m :m :$^{m}$l |t :t :s |s :d' :t | l :t :l |s :— :— |— :— :
d :d :$^{d}$f |r :r :r |d :m :r | d :r :d |t, :— :— |— :— :
venit, qui venit in no-mi-ne | Do - mi - ni
s :s :$^{s}$d' |s :s :t |d' :s :f | m :— :fe |s :— :— |— :— :
d :d, :$^{m}$l, |s, :s :f |m :d :s, | l, :— :r |s, :— :— |— :— :

C.t. *p.* … f F. *mf.* D. tml. *f*
$^{r}$s :— :m |l :— :t |l :— :— | $^{d}$$^{l}$s :— :m |$^{l}$d' :— :r' |d' :— :d'
$^{t}$m :— :m |m :— :— |m :— :— | $^{f}$d :— :d |$^{de}$m :— :f |m :— :m
Be - ne-dic - tus, | Be - ne - dic - tus, qui
$^{s}$d' :— :d' |d' :— :r' |d' :— :— | $^{l}$m :— :m |$^{m}$s :— :— |s :— :d'
$^{s}$,d :— :d |l, :— :— |l, :l :s | $^{f}$d :— :d |$^{l}$,d :— :— |d :m :l

*ff* … s.d.f. F. *pp*
r' :r' :r' |m' :m' :m' |m' .f' :m' | r' :d' :t |d' :— :— |— :— :$^{s}$m
s :s :s |s :s :s |l :l :s | f :m :f |m :— :— |— :— :$^{m}$de
venit, qui venit in no-mi-ne | Do - mi-ni in
t :t :t |d' :d' :d' |d' :r' :t | l :d' :r' |d' :— :— |— :— :$^{d'}$l
s :s :s |d' :d' :ta |l :r :m | f :l :s |d :— :— |— :— :$^{d}$l,

*Gellir canu ar y geiriau,—Gwynfydedig yw'r hwn ddaw yn enw'r Arglwydd Ior.

*p* rit e dim

|m :f :m |r :d :r |m :— :m |m :s :f |m :d :r |d :— :—

|de :r :t, |l, :— :l, |t, :— :d |d :m :r |d :— :t, |d :— :—

no-mi - ne Do - mi-ni, in | no mi-ne Do - mi-ni

|l :l :s |f :— :l |se :— :l |l :ta :l |s :m :f |m :— :—

|l, :r, :m, |f, :— :f |m :r :d |l, :m, :f, |s, :— :s, |d :— :— / d, :— :—

f B♭ *p. a tempo primo* *mf* *f*

|ᵈs, :d :t, |r :— :— |d :—:— |m :— :r |f :— :— |m :— :m / :d.t,

|ᵈs, :— :s, |t,.l, :t,.s, :l,.t, |d :—:— |d :— :t, |r :— :— |d :— : qui

Be - ne-dic - tus | Be - ne - dic - tus,

|ᶠd :m :r |f :— :— |m :—:— |s :— :s |l :— :— |s :—:

| : : | : : | : : |d,.m, :l,.s, :f,.m, |r,.m, :f,.s, :l,.t, |d :—:

dim. rit

|m :s :l |s :m :d |m :— :r |d :— :— |— :— :m |r :— :r

|l, :t, :d.r |m :d :d |d :— :l,.t, |

venit in no-mi-ne Do - mi | ni Do - mi-

| : :f, |m, :s, :l, |s, :s, :s, |s, :— :l, |s, :— :d |t, :l, :t,

qui venit in no-mi - ne | Do - mi-ni Do - mi-

| : : | : :f |m :s :f |m :m :re |m :m :s |s :fe :s.f

qui venit, qui | venit in no -mi-ne Do - mi-

| : : | : : : : :s, |d, :m, :f, |m, :d, :d |s, :l, :s,

rit. pp.

|d :— :— |— :— :s, |s, :s, :m, |l, :— :s, |s, :— :— |— :— :l,

|s, :— :— |— :— :m, |m, :m, :m, |m, :— :m, |m, :— :— |— :— :m,

ni in no-mi - ne | Do - mi-ni in

|m :— :— |— :— :d |d :d :d |d :— :t, |t, :— :— |— :— :d

|d, :— :— |— :— :d, |d, :d, :d, |l₂ :— :m, |m, :— :— |— :— :l₂

*p* pp. rit

|d :t, :d |r :— :— |— :— :r |d :— :— |d :— :d |d :— :—

|l, :s, :l, |l, :— :— |t, :l, :t, |d :— :— |m, :s, :l, |s, :— :—

no-mi-ne Do - - mi- | ni Do - mi - ni.

|m :m :m |fe :m :fe |s :— :f |m :— :— |d :m :re |m :— :—

|l₂ :m, :l, |r, :— :— :s, :— :s, |d, :— :— |l, :s, :f, |d, :— :—

HERODR *yn dod i ffrynt y llwyfan ac yn chwythu sain utgorn* tuag L 1. IOLO GOCH *yn codi'r Deyrnwialen.)*

IOLO GOCH.—Dyma Deyrnwialen Cymru! Yma'n gynulledig gwelaf Benaethiaid Cymru. Yma hefyd yn gynulledig y mae Cynrychiolwyr Cymru, pedwar o bob Cantref. Dymuniad y Penaethiaid yw ar i'r Deyrnwialen hon, arwydd awdurdod aruchaf ein gwlad, gael ei rhoi yn llaw Owen Glyndwr, yr Arwr doeth a enillodd i ni ein rhyddid. Od oes yma neb a heria ei hawl ef iddi, myneged yr awrhon. Os amgen, amlyger heddyw farn Cymru.

PAWB *(yn unllais)*.—Glyndwr am byth! Byw fo Glyndwr!

(YR HERODR *yn dod i ffrynt y llwyfan ac yn chwythu sain utgorn* tuag R 1. MORTIMER *yn dyrchafu Cledd y Coroniad.)*

MORTIMER.—Dyma Gledd Coroniad Tywysogion Cymru! Ni ddefnyddiwyd ef er dydd Llewelyn ap Gruffydd hyd y dydd hwn! Yn enw pendefigaeth Lloegr yr wyf yma yn maentumio ar goedd gwlad hawl Owen Glyndwr i'r cledd hwn. Od oes yma neb ar ran pendefigaeth Lloegr neu arall, a heria yr hawl hwn, wele fi, Edmwnd Mortimer, Tywysog Deheubarth Lloegr, yma yn barod i gynnal hawl Glyndwr mewn câd ac mewn gornest, a chledd ac a gwaewffon hyd farw! A dyna fy maneg yn arwydd o'm her! *(Yn taflu ei faneg ar lawr)*.

PAWB *(yn unllais)*.—Glyndwr am byth! Byw fo Glyndwr!

(YR HERODR *yn dod i ffrynt y llwyfan ac yn chwythu sain utgorn* tuag L 1, *ac un arall* tuag R 1. Y DEON *yn gosod y Goron ar yr Allor, moesgrymu iddi, cerdded yn wysg ei gefn yn ol i'w le.* IOLO GOCH *yn gosod y Deyrnwialen ar yr Allor, gan wneud yn gyffelyb i'r hyn a wnaeth y Deon.* MORTIMER *yn gosod y Cledd ar yr Allor, ac yn gwneud yn gyffelyb i'r ddau arall. Tra hyn yn cael ei wneud* GLYNDWR *yn codi, cerdded* hyd B.d., *gan droi yno a sefyll a'i wyneb* tua D.b. YR ESGOB *yn sefyll ar gongl llwyfan yr Orsedd* tuag R, yn wynebu GLYNDWR.)

YR ESGOB.—Owen Glyndwr, yr wyf yn dy dynghedu di, yn enw Gwlad a Chenedl y Cymry, ac yngwydd yr Hollalluog Dduw, yr hwn a wasanaethir ganddynt hwy a thithau, i ddweyd a wyt ti yn barod i gymeryd yma ar yr allor, lw o ffyddlondeb, i'th Wlad, i'th Genedl, ac i'th Dduw, cyn caffael o honot dy arwisgo yn Dywysog Cymru?

GLYNDWR.—Yr wyf yn barod!

YR ESGOB.—Drwy y cledd yr enillaist ryddid Cymru; o dan y cledd y rhaid iti esgyn i'th Orsedd.

(Y PENAETHIAID ar L ac R *yn tynnu eu cleddyfau, yn dal eu blaen tuag i fyny nes cyffwrdd o bob cledd flaen y cledd gyferbyn, ac felly ffurfio bwa o gleddyfau noethion* o B.c. hyd D.c., *ac yn terfynnu yng nghleddyfau* MORTIMER a IOLO ar ffrynt llwyfan yr Orsedd. GLYNDWR *yn cerdded o dan y cleddyfau; esgyn y llwyfan; sefyll* rhwng yr Allor a'r Orsedd, a'i law dde ar yr Allor, ac yn gwynebu y gynulleidfa. Y PENAETHIAID yn cilio yn ol pob un i'w le, gan adael GLYNDWR a'r ESGOB un ar bob pen i'r Allor *yn sefyll* yn amlwg yngolwg y gynulleidfa.)

YR ESGOB.—A wyt ti, Owen Glyndwr, yn ymrwymo y bydd i ti, fel Tywysog Cymru, lywodraethu dy Wlad a'th Bobl mewn uniondeb yn ol dymuniad y Penaethiaid ac yn ol traddodiadau dy genedl?

GLYNDWR.—A'm llaw ar yr Allor, ac yngwydd fy Mhobl a'm Duw, yr wyf yn tyngu y gwnaf hyn.

YR ESGOB.—A wnei di amddiffyn Rhyddid dy Wlad, gan feithrin Addysg i'r Werin, a diogelu buddiannau yr Eglwys?

GLYNDWR.—Hyn hefyd, a'm llaw ar yr Allor, ac yngwydd fy Mhobl a'm Duw, yr wyf fi, Owen Glyndwr, yn tyngu heddyw y gwnaf!

PAWB *(yn unllais)*.—Glyndwr! Arwr Cymru!

(YR HERODR *yn chwythu sain utgorn* tuag R ac L. GLYNDWR gyda'r ESGOB a'r DEON un o bob tu iddo, *yn dod i ffrynt* llwyfan yr Orsedd.)

YR ESGOB.—Chwi, Benaethiaid a Chynrychiolwyr Cymru! Cyflwynir i chwi mewn Llys Cenedl ac yn ol

Defod Gwlad, Owen Glyndwr yr hwn a ddewisasoch heddyw i fod yn Dywysog Cymru! Ai parod ydych chwi i dalu gwrogaeth iddo?

PAWB *(yn unllais)*.—Ydym! Gwrogaeth i Glyndwr Dywysog!

(YR ESGOB a'r DEON, un o bob tu iddo, *yn arwain* GLYNDWR i'w Orsedd, lle yr *eistedda*. YR ESGOB a'r DEON *yn cilio yn ol* yn wysg eu cefnau, y naill L a'r llall R. MORTIMER a IOLO GOCH *yn agoshau at yr Allor,* gan *gymeryd y naill y Cledd, a'r llall y Deyrnwialen,* ac *yn dynesu* at y TYWYSOG ar ei Orsedd.)

IOLO GOCH *(yn myned ar ei lin, ac estyn y Deyrnwialen i'r Tywysog)*.—Ar ran Cymru yr wyf yn rhoddi i ti Deyrnwialen y Dywysogaeth, mewn sicrwydd hyder y llywodraethi di y Wlad a'r Genedl mewn uniondeb.

(GLYNDWR *yn derbyn y Deyrnwialen; yn estyn ei law i* IOLO *yr hwn a'i cusana.* IOLO *yn codi, moesgrymu, cilio yn ol, yn sefyll ar yr Aswy i'r Orsedd.)*

MORTIMER *(yn myned ar ei lin, ac estyn y Cledd i'r Tywysog)*.—Ar ran Cymru a'i Phenaethiaid, olynwyr Arthur a'i Farchogion, ac ar ran Marchogion Deheubarth Lloegr, yr wyf fi, fel un o'th ddeiliaid ym Maesyfed, yn cyflwyno i ti Gledd Coroniad Tywysogion Cymru, mewn sicrwydd hyder na lychwinir mo hono byth yn llaw Owen Glyndwr Tywysog Cymru, ac y bydd bob amser yn barod i amddiffyn hawliau dy wlad ac i ddial cam y gwan!

(GLYNDWR *yn derbyn y Cledd;* MORTIMER *yn cusanu ei law; yn codi, moesgrymu, cilio yn ol, sefyll ar y Dde i'r Orsedd.* Y DEON *yn myned at yr Allor, yn cymeryd y Goron, yn dynesu at yr Orsedd.* Y TYWYSOG *yn myned ar ei lin a'i wyneb tua'r gynulleidfa, tra'r* ESGOB a'r DEON *yn sefyll un o bob tu iddo, ac yn gosod y goron ar ei ben.)*

YR ESGOB.—Yr ydym yn dy goroni di, Owen Glyndwr, yn enw Gwlad a Chenedl, yngwydd Nef a Daear, yn Dywysog Cymru!

PAWB *(yn unllais)*.—Glyndwr Dywysog! Glyndwr Dywysog! Byw fo Glyndwr Dywysog!

(GLYNDWR *yn codi, eistedd ar ei Orsedd..* YR ESGOB a'r DEON *ar eu gliniau,* ar dde ac aswy o'i flaen.)

YR ESGOB.—Ar ran Hen Eglwys y Cymry a adsefydlwyd gennyt ti, yr wyf fi, Ioan Trefor, Esgob Llanelwy, yn tyngu y byddaf fi a'r Eglwys yn ffyddlon i ti, i'th Orsedd, ac i'th Goron!

(YR ESGOB a'r DEON *yn cusanu llaw y* TYWYSOG, *moesgrymu, cilio yn ol, a sefyll yn ochr* IOLO a MORTIMER. SYR RHYS TEWDWR a SYR JOHN HANMER *yn esgyn llwyfan yr Orsedd ac yn penlinio.)*

SYR RHYS.—Ar ran Penaethiaid a Chynrychiolwyr Cymru tyngaf y byddwn ffyddlon i ti, i'th ddilyn mewn câd, i'th gynorthwyo mewn Cyngor, ac i'th gynnal mewn Llys!

(Y DDAU *yn cusanu ei law, codi, moesgrymu, cilio yn ol, a sefyll yn ochr yr* ESGOB a'r DEON. DAFYDD GAM *yn esgyn llwyfan yr Orsedd, dynesu at y* TYWYSOG.)

DAFYDD GAM.—Mae gennyf finnau fel Alltud o Gymro yngwlad y Sais deyrnged o wrogaeth i'w rhoddi i Glyndwr Dywysog. A dyma fe!

*(Yn tynnu dagr o'i fynwes, ac yn taro ergyd at galon* GLYNDWR. IOLO GOCH *yn ei wylio er pan esgynnodd y llwyfan, yn llamu ymlaen, ymaflyd ym mraich* GAM *pan yn disgyn, gosod ei droed tu ol iddo, a'i hyrddio ar ei gefn ar lawr; gosod ei droed ar fynwes* GAM, *a'i gledd wrth ei wddf.)*

IOLO.—Y bradwr du!

Y DORF.—Lladd ef Iolo! Lladd ef Iolo!

GLYNDWR *(yn codi yn urddasol)*.—Na ato Duw i ddydd fy nghoroniad gael ei lychwino â gwaed neb. Diolchwn i Dduw Ior am gadw Dafydd Gam rhag bod yn llofrudd heddyw. Gwr dewr a fu efe mewn llawer câd. Dichon y daw dydd pan y gallo wneud iawn am y trosedd hwn, a thynnu cledd dros Gymru, yn lle i'w herbyn! Ymaith ag ef i garchar!

(MILWYR *yn ymaflyd yn* GAM *a'i arwain tua'r cefn.* GLYNDWR *yn edrych ar ei ol.)*

GLYNDWR.—O! Fy Ngwlad! Fy Ngwlad! Pa mor uchel y gallaset heddyw fod ymhlith cenhedloedd daear pe buasai dy blant bob amser yn bur i'w gilydd, ac yn ffyddlon i'w harweinwyr! *(Yn troi drachefn at y gynulleidfa).* Gyd-Gymry ffyddlon oll! Fe fethodd brad, a methu wna! Gwladgarwch pur, ffyddlondeb gwir, a dania mwyach ein calonnau oll! Tra Cymru'n ffyddlon iddi ei hun—a'i Duw—ni all un gelyn ei darostwng hi! Bu Cymru'n fawr ei chlod mewn oesoedd gynt. Bydd eto'n uwch ei bri yr oesau ddaw! Ar ol y storm, daw heulwen; ar ol y gaeaf, haf; ac wedi rhyfel heddwch,—a llwydd i Gymru fad! Mae'r dydd yn dod, a gwelaf ef yn gwawrio draw, ca'r Sais a'r Cymro drigo yn gytun mewn hedd a chydgord llawn, heb drais, na brad, na llid,—a'r ddau yn ceisio lles a llwydd ei wlad. Tra byddwn ninnau'n ffyddlon ac yn bur i'n gwlad, i'n gilydd, ac i'n Duw,—gwenau Ior fydd ar ein gwlad!

PAWB *(yn canu).*

**Rhif 23.**—GWENAU'R IOR FO AR EIN GWLAD.

Cydgan.

Y geiriau a'r gerddoriaeth gan ROBERT BRYAN.

*f* DOH C. *Allegro Maestoso.*

```
S  s' :— |m' :d'    | s' :—     |f' :m' | r' :—     |— :m'.f' | m' :— |— :
   Gwen  -   au'r   | Ior         fo    | ar          ein     | gwlad.
A  s  :— |— :l      | t  :d'    |s  :s  | l  :—     |s :s     | s  :— |— :
T  m' :r' |d' :m'.fe'| s' :f'.m' |r' :d' | d' :r'.d' |t :d'.r' | d' :— |— :
   Gwen  -   au'r   | Ior         fo    | ar          ein     | gwlad.
B  d' :t |d' :l     | s  :l     |t  :d' | f  :fe    |s :s,    | d  :— |— :
```

```
s'  :—  |m'  :d'    | s'  :—     |f'  :m' | r'  :—     |—  :m'.f'
Gwen    -    au'r   | Ior             fo  | ar              ein
s   :—  |—   :l     | t   :d'    |s   :s  | l   :—     |s  :s
m'  :r' |d'  :m'.fe'| s'  :f'.m' |r'  :d' | d'  :r'.d' |t  :d'.r'
Gwen    -    au'r   | Ior             fo  | ar              ein
d'  :t  |d'  :l     | s   :l     |t   :d' | f   :fe    |s  :s,
```

*p* *lento* < >

| m' :— | — : | : | : | : | : |
gwlad,
| s :— | — : { s / m | s :f | m :r | r :m | f :s.f |
| | | m :r | d :t, | d :— | r :m.r |
Tang - | nef - edd | pur lla -
| d' :— | — :s | s :— | — :s | l :s | l :s |
gwlad, Tang - | nef - edd | pur lla -
| d :— | — :d | d :r | m :s | f :m | r :s, |

*p* <

| : | : | : | :d' | d' :r' | d' :{ m' / d' |
Tang - | nef - edd
| m :r | d :r | m :— | — :s | s :— | — :s |
| d :t, | d :t, | d :— | — : | | |
wen - ydd | mad, Tang - | nef - edd
| s :— | — :s | s :— | — :{ m' / d' | m' :f' | m' :m' |
| | | | | d' :t | d' :d' |
wen - ydd | mad, Tang - | nef - edd
| d :r | m :r | d :— | — : | : | : |

> *mf*

| f' :m' | r' :d' | m' :r' | d' :t | d' :— | — :f' |
| r' :d' | t : | | | | |
pur lla - | wen - ydd | mad, Byw
| s :— | — :s | ta :l | s :s | s :— | — :s |
Byw
| r' :m' | f' :m' | s' :f' | m' :f' | m' :— | — :t |
| t :d' | r' :m' | d' :r' | m' :r' | d' :— | — : |
pur lla - | wen - ydd | mad, Byw
| : | : | : | : | : | : |

*a tempo*

| m' : | :f' | m' : | : | . :m'.d' | r' : |
fo Byw | fo i oes,
| s :t | d' :s | s :t | d' :d' | t :s | s :d' |
fo ein gwlad, Byw | fo ein gwlad, o | oes i oes, o
| d' :f' | m' :t | d' :f' | m' :m' | r' :d' | t :m' |
| :s | d' : | :s | d' :d | s :— | — :d |
ein gwlad, | ein gwlad, o | oes i

*cres* *f*

| :m'.d' | r' : | :f'.r' | m' :f'.r' | m' :s' | s' :— |
i oes | Heb loes na | gwae. yn llon,
| t :s | s :d' | t :s | s :s | s :— | :t |
oes i oes, Heb | loes, heb loes na | gwae, yn
| r' :d' | t :m' | r' :t | d' :t | d' :— | :f'.r' |
| s :— | — :d | s :— | — :s | d :— | :s |
oes Heb | loes na | gwae yn

— :— |— :f'.m' | f' :m' |f' :s'.f' | m' :f'.m' |r' :d'
yn | llon a llad, yn | llon a
d' :t |d' :l.s | l :s |l :s.l | s :— |— :l
llon a llad,
m' :f'.r' |m' :d' | d' :d' |d' :d' | d' :— |r' :m'
llon a llad, yn | llon a llad, yn | llon a
d' :s |d' :d | f :d |f :m.f | s :-.l |t :d'

*f*

s' :— |— :{f' r'} | m' d' : :t |d' :f' r' | m' d' : :t |d' :d'
llad, Byw | fo ein gwlad, Byw | fo ein gwlad, o
t :— |— :s | s :s |s :s | s :s |s :s
r' :— |— :t | d' :{f' r'} |{m' m'} :t | d' :{f' r'} |{m' m'} :m'
llad, Byw | fo ein gwlad, Byw | fo ein gwlad, o
s :— |— : | :s |d' : | :s |d' :d

t :{m'.d' d'} |{r' s} :d' | t :{m'.d' d'} |{r' s} :d' | t :{f'.r' t} |{m' d'} :{f'.r' t}
oes i oes, o | oes i oes, Heb | loes, heb loes na
s :s |s :s | s :s |s :s | s :s |s :s
r' :d' |t :m' | r' :d' |t :m' | r' :r' |d' :r'
oes i oes, o | oes i oes, Heb | loes, heb loes na
s :— |— :d | s :— |— :d | s :— |— :s

*ff*

m' :s' |s' :— | — :— |— :f'.m' | l' :s' |l' :s'.f'
d' :— yn| llon :t | d' :t |d' :d' | d' :d' |d' :d'
gwae, yn | llon a llad, yn | llon a llad, yn
s :— | :s | s :s |s :l.ta | l :ta |l :ta.l
d' :— | :f'.r' | m' :f'.r' |m' :f'.s' | f' :m' |f' :d'
gwae, yn | llon a llad, yn | llon a llad, yn
d :— | :s | d' :s |d' :d | f :d |f :m.f

*rit* *fff* *Largo*

m' :f'.m' |r' :-.d' | d' :— |— : | d' :— |— :d'
d' :— |t :-.d' | d' :— |— : | d' :— |— :d'
llon a | llad, | Gwen - au'r
s :— |— :-.s | s :— |— : | s :— |— :s
d' :r'.m' |f' :-.m' | m' :— |— : | m' :— |— :m'
llon a | llad, | Gwen - au'r
s :— |— :-.s | d :— |— : | d' :— |— :d'

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| m' | :— | s' | :— | l' | :— | — | :l' | s' | :— | — | :— |
| d' | :— | m' | :— | f' | :— | — | :f' | m' | :— | — | :— |
| Ior | | fo | | ar | | | ein | gwlad. | | | |
| l | :— | ta | :— | l | :— | — | :l | s | :— | — | :— |
| m' | :— | m' | :— | f' | :— | — | :f' | m' | :— | — | :— |
| | | d' | :— | d' | :-.t | d' | :r' | m' | :— | — | :— |
| Ior | | fo | | ar | | | ein | gwlad. | | | |
| l | :— | s | :— | f | :-.s | l | :t | d' | :— | — | :— |

*(Llen.)*

Y DIWEDD.

*CAERNARFON:*

*Argraffwyd gan Gwmni y Cyhoeddwyr Cymreig (Cyf.),*
*Swyddfa "Cymru."*

